# CERDDI CYSTUDD:

SEF

# GWEDDILLION BARDDONOL

Y DIWEDDAR

## JOHN OLIVER, O LANFYNYDD,

YNGHYD A

## BYR-GOFIANT

GAN EI FRAWD,

HENRY OLIVER, B.A.

CASNEWYDD-AR-WYSG:
ARGRAFFWYD GAN THOMAS WILLIAMS, 1, CAXTON-PLACE.

1867.

# CYNNWYSIAD.

ENGLISH.

# COFIANT.

"Oh, Sir! the good die first,
And they whose hearts are dry as summer dust
Burn to the socket."

WORDSWORTH.

YN nghanolbarth Swydd Gaerfyrddin, mewn dyffryn cul ryw bedair neu chwech milldir y tu aswy i'r briffordd, pan fyddech yn teithio o dref y Sir i Landeilo-fawr, y saif pentref Llanfynydd. Nid yw mwyach yr hyn yr ydym yn ei gofio. Fel llawer o leoedd cyffelyb yn rhanau amaethyddol Cymru, y mae wedi dioddef o herwydd cynydd gweithfaoedd Gwent a Morganwg. Mae rhifedi y trigolion wedi lleihau. Cof genym am ddeuddeg neu ychwaneg o aneddau, mewn rhan o'r pentref a elwid Penypwllmain, a theuluoedd yn byw yn mhob un o honynt, lle nad oes yn awr ddim ond adfeilion i'w canfod. Mae hen aneddau ereill hefyd wedi syrthio i'w pwll, ac nid oes nemawr o adeiladau newyddion yn cael eu cyfodi. Fel yr oedd Jerusalem a'i mynyddoedd o'i hamgylch, felly hefyd y mae y pentref hwn. Amddiffynir ef yn mron yn mhob cyfeiriad rhag rhuthr gwyntoedd ystormus. Rhed afonig fechan, enwog am ei brythillod, o'r enw Sanan drwy y lle; ac er nad yw y tir oddiamgylch yn ffrwythlawn, y mae y golygfeydd yn mhob man yn llawn swyn a phrydferthwch. Yno, ar y 7fed o Dachwedd, yn y flwyddyn 1838, y ganwyd John Oliver. Yr oedd gan ei rieni eisioes dri o blant, sef dau fab a merch; a chan fod y ddau fachgen hynaf wedi eu galw yn ol enw y tadcu (taid) o'r ddwy ochr, galwyd y baban yn "John," yn ol enw ei dad. Yr oedd ein rhieni (a pharhant hyd etto) yn cadw siop yn y pentref. Tua dechreu y flwyddyn ganlynol bu farw

ein brawd a'n chwaer o'r grygwst (croup), a chymerwyd yntau mor glaf fel yr anobeithiwyd unwaith am ei fywyd. Cof genym am dano yn cael ei osod mewn *hot bath*, a chlywed ein cymydogesau yn sibrwd dan eu hanadl fod un o ddau beth yn sicr o gymeryd lle yn fuan. Mawr oedd pryder ein rhieni; a rhag cael o honynt dristwch ar dristwch, arbedwyd ei fywyd, a gwellhaodd yn fuan. Er na fu erioed yn ryw gryf a chaled iawn, etto yr oedd tra yn blentyn yn eithaf iachus, ac mor fywiog a hoenus a neb trwy'r ardal. Yr oedd o'r dechreu yn hynod o addfwyn a hawdd ei drin, ac er nad oedd, mwy na'r rhelyw o blant Adda, yn rhydd oddiwrth ddireidi, tebyg yw iddo roddi llai o ofid wrth ei fagu nag un o honom.

Wrth geisio rhoddi darlun cywir o feddwl a chymeriad, gorchwyl anhawdd ydyw nodi y gwahanol elfenau a wasanaethasant er ei ffurfiad, ac i roddi i bob un o honynt eu lle priodol yn ol eu pwys a'u dylanwad. Yr oedd fy mrawd yn ddiau o dan ddyled i fro ei enedigaeth. Cafodd ei anfon yn foreu i ysgol y pentref; ond nid rhyw ddylanwad mawr a gafodd hono ar ei feddwl. Gallasai yn rhwydd ddysgu mewn chwe mis yr oll a ddysgodd yno mewn saith mlynedd. Yr unig beth yr amcenid atto oedd dysgu darllen ac ysgrifenu, ac ychydig rifyddiaeth. Pa beth bynag all fod ei chyflwr yn bresenol, nid oedd nemawr lewyrch arni y pryd hwnw. Yr oedd yr ysgolfeistr yn ddyn hynaws, caredig, a da; ond yr oedd cylch ei wybodaeth yn gyfyng, ac yr oedd yn dra amddifad o fedr i gyfranu addysg. Y tu allan i'r ysgol oedd y cyfryngau addysg ag yr oedd efe yn fwyaf dyledus iddynt. Yr oedd rhywbeth yn awyrgylch y lle yn tueddu i ddihuno meddwl. Er nad ydyw ond ardal wledig, yr oedd yno y pryd hwnw lawer o fywiogrwydd meddyliol. Buasai yno yn yr oes flaenorol gymdeithas Gymreigyddol dra lewyrchus, a gallasai fod yn fwy hiroedlog o lawer oni buasai i feddwdod y rhai oedd fwyaf blaenllaw gyda hi, i ddwyn anfri arni. Ac er ei bod wedi diflanu cyn geni fy

mrawd, yr oedd wedi gadael, gyda y drwg a wnaeth, ryw gymaint o'i hol er daioni ar yr ardal, trwy greu ysbryd darllengar, a chwaeth lenyddol. Yr oedd yn yr ardal hefyd amryw enwadau crefyddol, a chynhelid dadleuon brwd yn aml rhwng pleidwyr y naill a'r llall. Heblaw Eglwys y plwyf, yr oedd yno Fethodistiaid a Bedyddwyr; ac yr oedd yno aelodau yn perthyn i'r Wesleyaid yn y Mynydd Bach, ac amryw yn perthyn i hen Eglwys Annibynol Capel Isaac. O dan y fath amgylchiadau yr oedd y fath beth a llonyddwch meddyliol yn anmhosibl. Ar hirnos gauaf deuai amryw o'r cymydogion i dŷ ein rhieni. Weithiau darllenid ysgrif allan o *Seren Gomer*, a bwrid llinyn mesur arni gan y dysgedigion pentrefol gyda difrifoldeb mawr. Bryd arall adroddai fy nhad gynwysiad y *Welshman*, ac ymdrafodid â helyntion a rhagolygon Ewrop. Gwrandawem ni blant, bid sicr, yn astud ar yr ymddiddanion adeiladol hyn, ac yr oeddem yn gyfarwydd iawn o'r cryd ag enwau Louis Phillippe, a Metternich, ac Espartero, a Nicholas o Rwssia, &c. Byddai llawer yn troi i mewn wrth ddyfod o gyfarfod Sabbothol neu wythnosol, a phan gaed pregeth gan Evans, Llwynffortun, neu Jones, Llandussul, neu ryw un cyffelyb, byddai yno adolgyu dyddorol iawn arni. Anaml y byddai y teulu wrthynt eu hunain. Ymwelid â hwynt gan ddynion o gymeriadau tra gwahanol. Ni ddarllenwyd *novel* erioed gyda mwy o hyfrydwch nag y gwrandawem ar Twm Ddaniel, hen *bensioner* a drigai yn y pentref, yn adrodd hanes ei deithiau, neu Wm. Lewis yn adrodd ei brofiad yn ngweithfaoedd Morganwg. Nid oedd neb o fewn cylch ein hadnabyddiaeth yn fwy llawn o arabedd, yn fwy hylithr ei ddawn, ac yn fwy parod ei attebion, na Harri Jack. Cymerai Harri arno ei fod yn gryn dipyn o Armin, a mynych iawn y byddai mewn dadl â'n mam yn nghylch un o bynciau y ffydd. Gwr peryglus ydoedd Harri i fyned i ddadl âg ef, oblegid medrai barablu yn ddiddarfod; a pha un a fuasai ganddo reswm neu beidio nid oedd un amser yn ddiffygiol

mewn *wit*. Ein barn ni fel plant ydoedd, mai Harri oedd y siaradwr goreu, ond mai ein mam oedd drechaf mewn athrawiaeth. Ni byddai y dadleuon hyn un amser yn gadael teimladau digofus ar eu hol. Hyd yn oed pan wedi bod yn ymddiddan am fedydd—ac yr oedd hwn yn bwnc cynil iawn i ymdrafod âg ef—ymgyfarfyddid dranoeth mor siriol ag erioed. Ni bu erioed fwy o amrywiaeth nag a gaem ar athrofa yr aelwyd. Weithiau byddai yr ymddiddan yn troi i gyd ar amaethyddiaeth, bryd arall ar wleidyddiaeth, a phryd arall ar bethau crefyddol, yn ol gwahanol duedd-iadau y personau a ymwelent â ni.

O ran dim a wyddom, ni dderbyniodd fy mrawd un-rhyw argraff barhaus oddiwrth neb o'i gyfoedion; gan rai hynach nag ef ei hun y rhoddwyd cyfeiriad i'w feddwl. Cymerid ef yn foreu i'r ysgol Sabbathol, ac i foddion gras. Yr oedd duwioldeb tanbaid Dafydd Williams a Thomas Jones, Gwaelodymaes—blaenor-iaid gyda y Methodistiaid—y pryd hwnw yn pereiddio yr ardal. Cafodd gweddiau gwresog y naill, a chyng-orion doeth y llall, argraff ddofn ar ei feddwl ieuanc. Yr oedd hefyd yn ddyledus iawn, fel ninau, i'r addysg a gafodd gan Thomas a Dafydd Jones y gofiaid, gwyr cedyrn yn yr Ysgrythyrau, y rhai, er wedi marw, a barhant i lefaru am lawer cenhedlaeth yn yr ardal hono. Cedwid ei feddwl yn effro yn barhaus gan hol-iadau diflino Evan Griffith y gwehydd, a chynhyrfid ei chwilfrydedd gan ymddiddanion ei gyfeillion Ebenezer Evans a William Lewis, ac eraill o gyffelyb feddwl.

Rhoddasom y darluniad uchod am fod yn annichon-adwy deall cymeriad unrhyw ddyn heb wybod am ei amgylchiadau, a hyny yn neillduol yn moreu ei oes. Pan yn ddeuddeg oed, daeth i Gaerfyrddin, a bu am ychydig amser o dan ofal yr ysgrifenydd. Yr oedd y pryd hwnw yn llencyn bywiog, gweithgar, ac ymofyn-gar. Medrai ddarllen ac ysgrifenu yn bur dda; yr oedd yn weddol gyfarwydd mewn rhifyddiaeth; ac yr oedd eisioes wedi syrthio mewn cariad â llenyddiaeth

Gymreig. Ar ol ein hymadawiad â Choleg Caerfyrddin yn haf 1851, anfonwyd ef i ysgol y diweddar Barch. Titus Evans. Bu yno am ddwy flynedd, ac yn ystod yr amser hwnw ynillodd serch ac ymddiried ei athraw. Tystiolaeth Mr. Evans am dano oedd, mai efe oedd un o'r myfyriwr goreu a fu yn ei ysgol erioed. Yn ystod y tymor hwn dwfnhaodd yr argraffiadau crefyddol a dderbyniasai ar yr aelwyd gartref, ac yn yr ysgol Sul, ac yn hen gyfarfodydd gweddi cynes Llanfynydd, a daeth i'r penderfyniad o wneud proffes gyhoeddus o'r Arglwydd Iesu Grist. Er mai Methodistiad oedd ei fam, a bod tuedd ei dad at y Bedyddwyr, etto penderfynodd ef i ddilyn esiampl ei frawd, ac uno â'r Annibynwyr. Derbyniwyd ef yn aelod yn Heol Awst, gan y Parch. Hugh Jones, yr hwn a roddodd iddo bob anogaeth i ymgyflwyno i'r weinidogaeth. Yr oedd hyn yn cyd-daro â'i archwaeth a'i dueddiad ef ei hun, ac felly gwnaeth gais am dderbyniad i Goleg Caerfyrddin yn 1853. Nid oedd y pryd hwnw ond pymtheg oed, ac o ganlyniad o dan yr oedran arferol; ond cymaint oedd y boddlonrwydd a roddodd yn ei arholiad fel y derbynwyd ef yn ddioed a dirwysdr. Yr athrawon yn y coleg y pryd hwnw oedd Dr. Lloyd, y Parch. D. Davies, Panteg, a Dr. Davison. O'r tri wyr hyn nid oes ond y diweddaf yn awr yn fyw. Ni bu erioed galon yn fwy llawn o garedigrwydd a chydymdeimlad nag eiddo y Dr. Lloyd. Yr oedd yn ysgolhaig classurol rhagorol, ac yn athraw medrus; ac nid oes nemawr fyfyriwr a fu dan ei ofal nad oedd yn meddu ar barch a serch dwfn tuag atto pan yn fyw, ac nad yw yn anwylo ei goffadwriaeth yn awr pan y mae wedi ymadael. Ymddygodd y Doctor gyda'r tynerwch mwyaf tuag fy mrawd; a phan gollodd ei iechyd, ni welai ddim yn ormod i'w wneud er ei fwyn. Yr oedd Mr. Davies yn wr mwy tawel ac hunan-feddianol. Nid gorchwyl hawdd oedd ei gyffroi ef. Byddai ei ymddygiad tuag at y myfyrwyr bob amser yn dyner, a byddai

ei hyfforddiadau yn orlawn o synwyr cyffredin. Yr oedd gan fy mrawd olwg fawr iawn ar y Dr. Davison fel ysgolhaig penigamp, ac fel dyn hawddgar a dirodres. Mawr oedd ei alar pan ymadawodd y Doctor â'r Coleg yn y flwyddyn 1856. Am y ddwy flynedd gyntaf o'i fywyd athrofaol, aeth pob peth ymlaen yn ddymunol a llwyddianus. Dysgai ei wersi yn rheolaidd, ac ynillodd barch ei athrawon a serch ei gyd-ysgolheigion. Rhyw adeg bwysig iawn yn Nghaerfyrddin oedd wythnos yr arholiad blynyddo. Cynnrychiolid y "Bwrdd Presbyteraidd" yn Llundain y pryd hwnw gan y Parch. David Davison, M.A.—gŵr na welsom erioed ei ail fel arholydd. Yr oedd ganddo olwg fawr ar y coleg, a theimlai ddyddordeb neillduol mewn myfyrwyr Cymreig. Pan eisteddai wrth y bwrdd i arholi, yr oedd ei wên mor swynol, a'i wedd mor garedig, nes diarfogi pob ofn. Ni byddai un amser yn myned i'r boen o barotoi holiadau ysgrifenedig. Yr oedd ei ymadrodd yn rhy barod iddo fod o dan yr angenrheidrwydd o wneyd hyny. Meddai ar allu rhyfeddol, nid yn unig i dynu allan yr hyn a wyddai y myfyrwyr, ond i gyfranu addysg iddynt; a chyda y cwbl yr oedd mor llawn o *humour*, fel y byddai yr arholiad nid yn unig yn addysgiadol, ond yn ddifyrus. Buom mewn llawer o arholiadau mewn amrywiol fanau o bryd i bryd, ond nis gwelsom erioed, ac nid ydym yn dysgwyl gweled yn fuan, arholydd fel efe. Yr oedd ganddo lygad craff i weled talent. Ynillodd fy mrawd ei sylw ar yr arholiad cyntaf, ac ni pheidiodd a derbyn canmoliaeth uchel oddiwrtho tra parhaodd i ymweled â'r athrofa.

Tua diwedd y flwyddyn 1855, cymerwyd fy mrawd yn glaf mewn twymyn drom (*gastric fever*); ac er iddo wellhau, gadawodd wendid a nychdod ar ei hol. Bu ein rhieni yn dysgwyl ei farwolaeth am amryw ddyddiau, a chof genym fyned i waered i Lanfynydd heb nemawr obaith ei weled yn fyw. Yr oedd ganddo yn ddiau gyfansoddiad cryf cyn y buasai yn gallu dal

cystudd mor drwm ag a gafodd am gyhyd o amser. Ymadfywiodd tua dechreu y gwanwyn, a dychwelodd i'r coleg tua dechreu Mai; ac er colli o hono gymaint o amser yn ystod y flwyddyn hon, etto dywed un o'i gyd-ysgolheigion ei fod erbyn yr arholiad, "wedi llwyddo i barotoi bron yr oll o waith y flwyddyn flaenorol, a disgleiriai gymaint fel nad oedd modd lai na'i osod yn mhen y rhestr yn ei ddosparth." Ond yr oedd y darfodedigaeth wedi ymaflyd ynddo, ac ni bu byth mwyach am gymaint a diwrnod yn rhydd oddi wrth boen a nychdod. Parhaodd yn y coleg hyd haf, 1859. Yn ei lythyrau yn awr o'n blaen, y mae yn achwyn ar fawredd y gwaith a ddisgwylid oddi wrth y myfyrwyr. Cymerwyd lle Mr. Davies, Panteg, yn yn 1856 neu 1857, gan Dr. Nicholas, a lle Dr. Davison gan Dr. Davies, cyn hyny o Ffrwd-y-val. Yr oedd yr athrawon newydd, bid sicr, am wneud ymddangosiad da yn yr arholiad canlynol, a thrwy hyny gosodent lwyth trwm ar gefnau y myfyrwyr. Fodd bynag, llwyddai efe i fyned trwy y gwaith, ac yn ychwanegol at hyny gwnelai lawer fel ysgrifenydd i'r "Young Mens' Christian Association," yr hon a ffurfiasid yn y dref. Er galluogi y darllenydd i ffurfio barn am dano fel myfyriwr, rhoddwn y dyfyniadau canlynol oddi wrth ei gyfeillion Myrddin a Gwilym Marles, a chymerwn y cyfleusdra wrth wneud hyny o dalu ein diolchgarwch diffuant i bob un o honynt am eu caredigrwydd iddo. Dywed Myrddin am dano fel hyn:—

"Yr oedd yn anmhossibl byw yn hir yn ei gyfeillach heb weled ei fod yn meddu ar alluoedd meddwl cryfion. Mae y rhan fwyaf o'i gydfyfyrwyr a'i gydnabod yn dystion o hyn. Cychwynodd yr ysgrifenydd ac yntau eu gyrfa yn yr ysgol barotoawl, dan ofal y diweddar Barch. Titus Evans, yr un amser, a dechreuasant eu hymdaith athrofaol yn Ngholeg Caerfyrddin yr un Hydref. Cafodd felly fantais i'w adnabod. Rhagorai hyd yn nod ar yr ysgolorion o radd uchel oeddynt yn y coleg. Perthynai i ddosbarth uchel o feddylwyr, os nid y blaenaf. O herwydd gwendid y corph, nid allai ddal ei anadl yn hir gyda y gwaith o fyfyrio. Edrychem arno yn barhaus fel un yn feistr ar ei waith. Pan fyddai llawer un yn ocheneidio yn ddwys, wrth gyfarfod âg anhawsderau, yr

oedd ef yn symud ymlaen yn gryf, a'r rhwystrau yn diflanu fel y tawdd y cŵyr yn y tân. Buom am flynyddau yn cyd-ddwyn yr iau athrofaol; ond ymddangosai ei wddf ef yn fwy cynefin â'r gwaith, ac yn fwy cryf na'n gwddf ni yn aml. Oni bai ein cred-iniaeth yn ngoruchwyliaeth Arglwydd y nef a'r ddaear, buasem yn barod i ddyweyd mai gwastraff ar athrylith oedd symud ein cyfaill John Oliver mor fuan i'r bedd.

"Hefyd yr oedd cymesuredd yn ei alluoedd meddyliol. Yr oedd aelodau dyn y meddwl yn gyhyd. * * Pa gangen bynag a gymerai ein hanwyl gyfaill mewn llaw, amlygai allu mawr. Olrheiniai ieithoedd classurol Groeg a Rhufain gyda deheuig-rwydd llawer mwy na'r cyffredin. Yr oedd ei feddwl yn ymledu wrth ei fodd ar dir athroniaeth, ac yn gyflym iawn yn cydredeg â deddfau rhifyddeg. Hoffai gymdeithasu â'r awen, ac yr oedd yn hynod gyfarwydd â'i chyneddfau. Yr oedd ei bregethau yn uniad medrus o'r hyn sydd athronyddol ac ymarferol; meddai hefyd ar ddawn siarad llithrig a phoblogaidd. Yr oedd natur wedi ei gynysgaethu â'r galluoedd angenrheidiol er ei wneud o bwysig-rwydd mawr, ac yn un a adawai argraff barhaol ar y byd, ond dygodd Duw y galluoedd hyn oddiar y byd, er gwneud defnydd gwell o honynt mewn ffordd nad ydym ni, rai deillion, yn gwybod yn bresenol. Nis gallai y rhai a'i hadwaenent beidio ei garu, oherwydd meddai addfwynder neillduol, a rhyddfrydigrwydd yspryd mawr. Yr oedd addfwynder wedi ei chydwau â'i natur, ac yn tyfu mor naturiol a didwrw ag y tyf y rhosyn yn yr ardd. Ni welsom un duedd ynddo i ddrygu neb; pan anfoddlonid ef gan weithred angharedig a dichellgar, ceisiai gywiro y beius mewn yspryd addfwyn a llonydd, gan gladdu y weithred.

"Yr oedd ynddo ryddfrydigrwydd mawr; meddai lygad mawr, tyner, a chalon a lled ynddi. Yr oedd ei galon wedi lledu ei gwraidd yn nhir rhyddfrydigrwydd. Cyfraith cariad oedd yn llywyddu ei galon, a geiriau cariad oedd yn ei enau. Nid oedd dim cydymdeimlad rhyngddo â rhai bychain cul eu hysprydoedd, sydd yn gloddesta ar bob peth ond rhinwedd mewn dyn.

"Yr oedd gan y cyfaill hwn yn ddiamheuol natur ddynol wedi ei heneinio ag addfwynder a phrydferthwch. Er ei fod yn blaen-ori mewn dysg, yr oedd yn hawdd byw gydag ef. Ni wnai eiddilwch meddyliol yn destun gwawd, hyd yn nod yn oriau mwyaf difyrus ei fywyd yn yr athrofa, hyd yn nod pan oedd yn brofedigaeth ymollwng gyda y rhai a wnaent hyny. Nid oedd am gadw ei hun yn y golwg, a chael ei weled gan ddynion, ac am wneyd ei hun uwchlaw ereill. Yr oedd yn byw yn debyg i ddynion gwanach eu cyneddfau."

Mewn ysgrif dlos a llawn o deimlad, yr hon a ymddangosodd yn yr *Athraw* am Hydref ddiweddaf, dywed Gwilym Marles:—

"Fel myfyriwr perthynai iddo luaws o ragoriaethau. Yr oedd gwneud ei waith yn fater o gydwybod ganddo. Ymaflai yn nyledswyddau pob dydd gyda'r fath egni ag a ddangosai nid yn unig ei awydd cryf am wybodaeth, ond hefyd y ddysgyblaeth yr aethai ei feddwl dani yn barod, a'r llywodraeth oedd ganddo dros ei ewyllys, ac ystyried pa mor llesg y teimlai o ran ei gorph yn aml. Yr oedd myfyrio yn air ag ystyr iddo yn ei gysylltiad âg ef. Gwelsom fyfyrwyr yn hedfan uwchben eu gwersi yn debyg i wenoliaid, heb ond braidd ddisgyn a chyffwrdd â hwy yn awr ac yn y man. Nid felly ef. Gwelai lle yr oedd dyryswch, a gwnai ei oreu i'w ddadrys. Mynai y llyfrau goreu at ei wasanaeth, nid oblegid ei fod yn newyddian, neu yn caru gwneyd ymddangosiad teg, ond am yr awyddai feddianu y manteision goreu o fewn ei gyrhaedd.

"Heblaw darllen y llyfrau angenrheidiol ar gyfer gwaith y coleg, rhagoriaeth nodedig ynddo oedd, y darllenai bob peth arall a ddeuai ar y ffordd, neu y tynid ei sylw atto. Ufuddhäai i'r gofynion arno fel aelod o'r coleg; ond nid oedd *routine* y coleg yn un terfyn, ond yn hytrach yn gychwynfa iddo ef. Mae ambell *drudge* o fyfyriwr yn debyg, os goddefir y gydmariaeth, i fochyn mewn sofl, heb byth godi ei ben i daflu golwg allan o'i gylch dros faes eang llenyddiaeth gyffredinol. Elai ein cyfaill am fêl gwybodaeth i bob man, cysegredig ac anghysegredig. Darllenai yr amser hwn gyda chwaeth ac astudrwydd rhyfeddol y gweithiau blaenaf yn y Seisneg. Yr oedd yn hoff o Shakespeare. Aeth drwy y rhan fwyfaf o Addison, Gibbon, Burke, Goldsmith, a Johnson,—dotiai un amser, o leiaf, ar poor Goldsmith,—ynghyd â'r goreuon o'r beirdd Seisnig, hen a diweddar, Prydeinig ac Americanaidd. Parhäai i ddarllen nes llwyddo i gyrhaedd at wir ystyr yr awdwyr, a gallu gwerthfawrogi eu harddull benodol. Cofiai yr hyn a ddarllenai yn rhwydd a chywir, a medrai ei droi yn ol llaw i wasanaeth da. Prin y rhaid dweyd ei fod yn ddigon darllengar, ac yn ddigon gwladgarol i goleddu parch dwfn at lenyddiaeth Cymru. Gwnaeth ei hun yn dra chyfarwydd â pha beth bynag a berthynai i Gymru a Chymraeg. Mor amlganghenog oedd ei feddwl, fel mai nid hawdd oedd dweyd pa le yr oedd fwyaf cartrefol, a pha destynau a hoffai fwyaf. Caech ef un rhan o'r dydd dros ei ben yn y German yn darllen Goethe neu Schiller; dro arall mewn llawn hwyl gyda rhai o *choruses* mawreddog Euripides neu Aeschulus; awr arall yn lledu ei ddychymyg adeiniog dros ryw ran bellenig o faes hanes Lloegr, yn nghwmni Hume neu Macaulay; bryd arall yn olrhain cyfansoddiad a deddfau'r meddwl dynol gyda Reid neu Hamilton, neu ymddigrifu yn nghreadigaethau swynfawr Hamlet neu Othello; ac yn fynych ti a'i ceit, ddarllenydd hawddgar, yn per-lewygu uwchben caneuon Burns a Byron. Ond na ddychryned un brawd gwan rhag yr enwau diweddaf hyn. Pur yw pobpeth i'r pur.

Yr oedd rhyw gydbwysiad rhyfedd, rhyw aeddfedrwydd meddwl anarferol yn ein cyfaill, yn enwedig a chofio ei oedran. Ni chlywsom ef erioed yn coffau yr un llinell nad oedd yn gyson a'r chwaeth buraf. Yn llenyddol a moesol, yr oedd ei chwaeth gyda'r berffeithiaf a adwaenasom ni erioed. Ei deimlad gwastadol oedd—

"Y llinell yn fusgrell fo
Ym mhell bo'r llinell hono."

Ac nid mursendod Phariseaidd oedd hyn. Mawrygai lawer o'r fath ranau yn Sakespeare ynddynt eu hunain, sef fel amlygiad o dalent, ac mewn cysylltiad ag amser eu hysgrifeniad. Ond ni siaradai am danynt; nid y fath ranau a oedent yn ei gof. Braidd y mae eisiau dweyd iddo gadw ei serch at y Beibl trwy ystod yr holl amser y bu yn y coleg. Yr oedd yn fyfyriwr crefyddol.

"Yn y coleg lle yr oedd, ac yn y gymdeithas y teflid ef iddi, yr oedd golygiadau gwahanol iawn ar lenyddiaeth, athroniaeth, a duwinyddiaeth. O ddyn mor ieuanc, pan eisioes yn y coleg, yr oedd ef yn dra sefydlog yn ei farn ar lawer o bethau. Ond yr oedd mor ystyr-bwyll ac amyneddgar, fel y gwrandawai yn dawel a diduedd ar ereill yn traethu eu barn. Ceisiai wneud cyfiawnder â golygiadau gwrthwynebol i'r eiddo ei hun. Yr oedd yn gymedrolwr godidog rhwng pleidiau mewn dadl; ac os dygwyddai iddo fyned i ddadl ei hun, diarfogai bob tymher herfeiddgar, drahaus, neu enllibiog yn ei wrthwynebydd trwy ei yspryd addfwyn a hynaws. Curai yn galed â rhesymau; ond casai ymosodiadau personol, ac nid ymostyngai i'w defnyddio un amser. Yr oedd ei yspryd boneddigaidd yn llythyr cymeradwyaeth iddo yn y coleg, yn y dref, a phob lle yr elai. Fel hyn yr ysgrifena cydfyfyriwr iddo attom:—

'Mi a'i hedmygwn ef yn fawr, a thybiwn ef yn *noble fellow*, gyda galluoedd naturiol mawrion, y rhai a wrteithiasai yn rhyfeddol, ac ystyried ei oedran. Ni chlywais i erioed air croes o'i enau, ar wyf yn gofio, ac ni welais wg ar ei wyneb erioed. Bob amser yn garedig a chymwynasgar; yn ol fy marn i yr oedd yn anhawdd ei adnabod a pheidio ei garu. Fel siaradwr cyhoeddus yn ein *debates* bob nos Wener, ni welais erioed yr un myfyriwr yn Nghaerfyrddin, nac ychwaith o fewn cylch fy adnabyddiaeth yn Glasgow, y gellid ei gydmaru ag ef. Yr oedd bob amser yn goeth, syml, a rhwydd, weithiau yn llawn teimlad a hyawdledd. Yn ei ddosparth, fel y gwyddoch, yr oedd o'i ysgwyddau yn uwch na phawb.'"

Hawdd gweled fod ein cyfeillion yn y dyfyniadau uchod wedi bod yn edrych arno trwy ddrychau serch; ond os nad ydym yn camgymeryd yn fawr, y mae y darlun yn eithaf cywir. Ond i ddychwelyd at yr

hanes. Byddai yn gyffredin yn treulio rhan o'i wyliau bob haf gyda ni yn Mhontypridd, a daeth yn fuan i deimlo yn gartrefol yn ein plith. Ynillodd yno lu mawr o gyfeillion calon, i'r rhai y mae ei goffadwriaeth yn parhau yn anwyl hyd heddyw. Yn haf 1857 cymerodd ei gyfaill Myrddin ac yntau daith trwy ranau o Forganwg a Mynwy. Galwasant yn Mhontypridd er cael ychydig seibiant cyn myned yn mhellach. Yr oeddent wedi cyfarfod â dygwyddiadau pur hynod ar eu taith, a rhoddasant i ni adroddiad difyrus o'r helyntion. Edrychai fy mrawd yn wanaidd iawn, a gwnaethom ein goreu i geisio ei berswadio i beidio myned yn mhellach; ond ni fynai adael ei gyfaill fyned wrtho ei hun. Derbyniodd garedigrwydd mawr yn y Groeswen, a Mynyddyslwyn, a Maesycwmwr, a manau ereill, ac y mae llawer yno yn cofio hyd heddyw am ei bregethau. Ond yr oedd y tywydd yn oer a gwlawog, a chafodd yntau anwyd trwm. O'r braidd y cawsai orphwys gan besychu; ac er hyn oll cadwai ei yspryd i fyny. Yr oedd wedi myned yn y diwedd mor wan fel nas gallai deithio o fan i fan heb i'w gyfaill caredig gario ei *garpet bag* iddo. Dywedai Myrddin wrthym ei fod yn ofni yn fawr nas gallai gyrhaedd Mynyddyslwyn gan mor eiddil yr oedd wedi myned. Ymddangosai fel pe buasai ar lewygu pan ddaethant i dŷ Mr. Ellis; ond nis gallasai byth syrthio i well dwylaw nag i ofal Mrs. Ellis—un o'r gwragedd mwyaf siriol, a charedig, a deheuig, ag a adwaenasom erioed. Yna cafodd bob ymgeledd a allasai gael; ac er ei holl wendid pregethodd y noswaith hono mewn cystal hwyl ag y clywsai ei gyfaill ef erioed. Yr oedd ei benderfyniad mor ddi-ildio fel y daliodd atti, nes iddynt ymweled â phob lle y bwriadent fyned iddo. Pan gyfeirid at ei beswch, dywedai nad oedd ddim ond anwyd trwm, ac y buasai yn pasio yn yn fuan. Gweniaethai iddo ei hun y buasai Locock's Wafers yn ei wellhau; ond yr oedd y drwg yn waeth nag y meddyliasai efe ei fod. Er ei holl benderfyniad

yr oedd y corph yn ymdeneuo, a'r ychydig nerth a feddai yn pallu o ddydd i ddydd. Cof genym am y pryder dwys a deimlem pan ddychwelodd, ond ar ol cael gorphwys am ychydig ddyddiau, dechreuodd ymadnewyddu drachefn, a dychwelodd i'r coleg ar agoriad y *Session.* Yr oedd erbyn hyn wedi dyfod yn bregethwr pur gymeradwy, a gelwid ef yn fynych i lenwi pwlputau gweigion. Nid oedd waeth ganddo pa un ai yn Gymraeg neu yn Seisneg y gelwid arno i weinyddu. Tua diwedd 1858, neu ddechreu 1859, derbyniodd alwad i ymsefydlu yn weinidog ar yr Eglwys Seisnig yn Nghastellnedd; ac os nad ydym yn camsynied, cafodd gynyg ar alwad oddiwrth yr Eglwys Gymreig yn yn Nghapel Sion, Abertawy. Ond ni fynai efe gydsynio â'r galwadau hyn. Gwnaeth y pwnc yn fater gweddi a myfyrdod dwys, ond yr oedd yn ofni iachusrwydd y ddau le, ac wedi gosod ei fryd ar ddilyn ei efrydiaeth trwy fyned i brif ysgol Glasgow. Ymadawodd â Chaerfyrddin yn haf 1859, a threuliodd ychydig wythnosau yn ddedwydd iawn yn Pembroke Dock, yn nhŷ y Parch. Josephus Williams. Derbyniodd yno y caredigrwydd mwyaf, a phasiodd yr amser yn ddedwydd iawn. Parhai o hyd i feddwl am Glasgow, ac nid heb boen dirfawr y rhoddodd y bwriad i fynu. Yr oeddem ein dau yn rhodio gyda'n gilydd, yn ngardd ein rhieni, a dywedai wrthyf am ei ofnau a'i obeithion. Ymdrechwn ninau osod allan iddo yr ynfydrwydd o iddo feddwl, yn nghyflwr presenol ei iechyd, am fyned i le mor oer, ac mor bell oddiwrth ei gyfeillion. Cynghorwn ef i wneud pob ymdrech i gael adferiad iechyd yn gyntaf, ac yna os llwyddai y gallai fyned i Glasgow neu i Germany, yn ol ei ewyllys. Yr oedd dagrau yn ei lygaid, ac ymdorai ochenaid o'i fynwes pan ddywedai "y mae yn rhaid ildio."

Bu fy mrawd yn ystod ei arosiad yn Nghaerfyrddin yn ffodus iawn mewn cyfarfod â chyfeillion a adawsant ddylanwad da ar ei feddwl a'i galon; ond ni bu mor ddyledus i neb ag i Mrs. Hughes, gweddw y diweddar

Barch. J. S. Hughes, o Abertawy. O'r braidd na feddyliem mai ei dylanwad hi a barodd iddo droi ei feddwl gyntaf at farddoniaeth; ond beth bynag am hyny, yr ydym yn sicr fod iddi law fawr yn nghynhyrchiad y chwaeth iachus a phur a hynodai ei feddwl. Edrychai efe ar Mrs. Hughes fel mam, ac yn ei lythyrau attom, galwai hi yn wastad "my town mamma." Derbyniodd garedigrwydd mawr oddi wrthi yn ei gystudd; ac os nad ydym yn camsynied, ei chynyrch hi yw y llinellau tlysion a roddir ar ddiwedd ein cofiant.

Pan orfodwyd ef i roddi i fyny ei fwriad o fyned i Brif Ysgol Glasgow, ymroddodd â'i holl egni i geisio adferiad iechyd. Astudiai bob gwaith y gallai ddyfod o hyd iddo ar y darfodedigaeth, a gohebai yn aml â'i feddyg, y Dr. Lewis, o Gaerfyrddin. Nid oedd ond un ochr i'r ysgyfaint y pryd hwnw yn ddrwg, a gobeithiai pe gellid attal rhediad yr afiechyd, a chraethu dros y clwyfau, y gallasai gyrhaedd graddau o nerth drachefn. Rhoddodd brawf ar *cod liver oil*, ar lysiau, ac ar *inhalations;* mewn gair, nid oes un fath o feddyginiaeth yn cael ei chymeradwyo na wnaeth efe brawf o honi. Cadwai ei hun yn ofalus yn ei ystafell yn y gauaf. Ond elai allan yn yr haf, gan ymweled â ffynhonau Llanwrtyd, neu dalu ymweliad â'i berthynasau. Yr oedd yn analluog o herwydd byrdra ei anadl i gerdded llawer, ond yr oedd yn hoff iawn o farchogaeth. Byddai yn pregethu yn awr ac yn y man am y flwyddyn gyntaf ar ol ei ymadawiad â'r athrofa; ond yr oedd ei yspryd mor fywiog fel y byddai y gwaith yn gosod gormod o *strain* ar ei natur, a gorchymynwyd iddo gan feddygon i ymwrthod yn llwyr â phregethu. Nis gwelsom ef yn teimlo mor ddwys erioed a phan dderbyniodd y gorchymyn hwn. Yr oedd cael ei attal gan afiechyd i bregethu yr efengyl yn siomedigaeth chwerw i'w galon. Er hyn oll, parhai bob amser yn siriol. Ni welwyd neb erioed yn fwy gofalus am gysur ereill, ac yn fwy parod i wneud pob peth er eu dedwyddu

nag ef. Taenai ei ysbryd addfwyn sirioldeb trwy y teulu a thrwy y pentref. Yr oedd y drafferth a roddai i'w fam ac i'w gyfeillion yn peri gofid mawr iddo, ac ymdrechai ei wneud can lleied ag y gallai. Ni oddefai i neb hyd yn nod pan fyddai fwyaf gwan ac eiddil i eistedd i fyny i'w wylio. Anfoddlonai yn fawr os nad aent i gyd i'r gwely; a llawer gwaith y darfu i'n mam fyned i mewn i'w ystafell yn y boreu mewn amheuaeth pa un a gawsai ei weled yn fyw ai peidio. Nid oedd heb deimlo wrth weled ei gyfoedion yn llenwi gwahanol gylchoedd o ddefnyddioldeb, ei fod ef yn analluog i gymeryd rhan yn y gwaith. Cydmarai ei hun i filwr clwyfedig yn sŵn y rhyfel, ond yn ffaelu a tharaw ergyd yn erbyn y gelyn. Ond er hyn oll, yr oedd yn mhell o fod yn segur. Darllenai, meddyliai, ac ysgrifenai yn barhaus. Yr oedd ganddo lu mawr o gyfeillion yn ngwahanol ranau Cymru, a rhai yn Lloegr, â'r rhai y gohebai yn barhaus. Yr oedd ganddo ddawn neillduol at y gwaith o ysgrifenu llythyr, ac yr oedd nid yn unig yn llawen i dderbyn llythyr, ond yn gydwybodol i atteb. Yn ystod y saith mlynedd y bu gartref yn glaf, ysgrifenodd lawer i newyddiaduron ac i'r gwahanol gylchgronau. Pe cesglid ei holl weithiau rhyddieithol at eu gilydd, gwnaent i fyny gyfrol drwchus. Ysgrifenodd hefyd lawer o bryd i bryd i Eisteddfodau; ond er iddo fod lawer gwaith yn ynillwr, nid oedd ar y cyfan yn llwyddianus iawn mewn cystadleuaeth. Pell ydym oddiwrth briodoli ei aflwyddiant i anghyfiawnder yn y beirniaid, ac yr ydym yn llawn mor bell o'i briodoli i ddiffyg gallu ynddo ei hun. Yr achos yn ddiau oedd ei wendid. Dechreuai yn aml ar orchwyl, a phan yn mron a'i orphen, caffai anwyd ffres, yr hyn a ddarostyngai ei nerth. Pan gynhygiwyd gwobr am y traethawd goreu yn erbyn Colenso, ymaflodd yn y pwnc gyda brwdfrydedd, ac astudiodd ef yn drwyadl; ond pan ddaeth amser gyru yr ysgrifau i mewn, gorfu arno anfon ei ysgrif mewn cyflwr anorphenedig,

a'r canlyniad fu i'r wobr gael ei rhoddi i ereill. Ni byddai colli mewn cystadleuaeth yn peri nemawr siomedigaeth iddo. Yr oedd yn caru cyfansoddi er ei fwyn ei hun, a pha beth bynag a ddeuai o'r arian, yr oedd ef fynychaf yn derbyn ei wobr. Yn 1863 daeth chwant arno gael ychydig ddynion ieuenc i'w haddysgu. Meddyliai y buasai cael ychydig gyfeillion ieuenc ymofyngar o dan ei ofal yn tori ar ei unigedd, ac yn ychwanegiad mawr at ei gysur,—ac yn hyn ni chafodd ei siomi. Bu Mr. John Evans, yn awr o Lancashire College, yn treulio cryn amser gydag ef, er mawr lawenydd i'w athraw, ac er mantais nid bychan iddo ei hun. Ar ol ei ymadawiad ef cafodd ychydig o ddysgyblion ereill, ac yr oedd dau neu dri o dan ei ofal hyd adeg ei farwolaeth.

Mawr oedd ei lawenydd pan delid ymweliad ag ef gan un o'i gydfyfyrwyr, neu frodyr ereill o'r un anian ag ef ei hun. Ffurfiodd gyfeillgarwch cynes iawn â'r diweddar Barch. R. Rees, o Gapel Isaac. Ai drosodd i wrandaw ei gyfaill bryd bynag y byddai y tywydd yn caniatau, a gorfoleddai yn fawr yn wyneb y llwyddiant anghyffredin a ddilynai ei weinidogaeth. Capel Isaac oedd ei gartref crefyddol ar ol ei ymadawiad â Caerfyrddin, er ei fod o herwydd y pellder o dan orfod cydaddoli yn amlach gyda y Methodistiaid a'r Bedyddwyr yn Llanfynydd. Yn wir edrychai dynion o bob enwad arno fel pe buasai yn perthyn iddynt hwy, canys yr oedd mor rhydd a neb oddiwrth ragfarn bartiol. Ymwelai Mr. Rees ac yntau yn aml â'u gilydd, ac phan syrthiodd ei gyfaill i'r un clefyd ag yntau, daeth eu cydymdeimlad yn fwy cynes. Aent i'r ffynonau gyda eu gilydd, ac ni flinent un amser ar fod yn nghymdeithas y naill y llall. Cafodd fy mrawd ergyd trwm i'w deimlad pan fu farw y Parch. R. Rees yn 1865. Ganddo ef y casglwyd defnyddiau y cofiant i Mr. Rees, a ymddangosodd yn y *Congregational Year Book* am y flwyddyn ganlynol. Bu yn llafurus iawn i gael Ysgoldy Brytanaidd yn Nghapel

Isaac. Er na oddefai ei iechyd iddo fyned lawer oddiamgylch, etto rhoddai ei eiriau nerth ac yni i'r bobl, ac nis gall fod unrhyw amheuaeth nad iddo ef yn benaf y mae yr ardal yn ddyledus am yr Ysgol Fryntanaidd lewyrchus sydd yn y lle. Mwynhai fy mrawd hefyd yn ystod yr amser hwn gyfeillach y Parch. T. Job a'r Parch. Mr. Griffiths, gweinidog y Bedyddwyr. Rhydd y blaenaf y darluniad a ganlyn o hono :—

"Cefais yn ystod y pum mlynedd diweddaf lawer iawn o'i gyfeillach; ac yr oedd yn un o'r rhai mwyaf coethedig ei chwaeth, gwrteithiedig ei feddwl, boneddigaidd a chrefyddol ei yspryd, ag y bum yn ei gymdeithas erioed. Yr oedd gwir adeiladaeth i'w gael yn ei gyfeillach. Edrychwn yn mlaen bob amser gyda hyfrydwch a gorfoledd nid bychan ar yr awr neu ddwy oedd genyf i'w treulio yn nghymdeithas yr addfwyn John Oliver; oblegid yr oedd rhyw beth ynddo ag oedd yn eich gwellhau yn mhob ystyr o'r gair wrth ymgomio ag ef. Bum yn synu lawer gwaith pa fodd yr oedd dyn mor ieuanc wedi dyfod i'r fath barch a dylanwad yn ei le genedigol, a hyny gyda phob dosbarth, a chwedi cyrhaedd y fath doraeth o wybodaeth gyffredinol ar bob matter gwladol ac eglwysig. Mewn gwirionedd yr oedd yn rhyw fath o Encyclopædia gan bobl Llanfynydd i droi atto i ymofyn eglurhad ar bob pwnc, ac yr oedd yr hyn a ddywedai yn foddhaol braidd gan bawb. 'Fel hyn,' meddent, 'y mae John Oliver yn dweyd'—a dyna ddigon. Byddai cyfoethog a thylawd, crefyddol ac anghrefyddol, yn cwympo i fewn i'w olygiadau ef, oblegid yr oedd gan bawb a'i hadwaenent y fath barch iddo ar gyfrif ei gymeriad dysglaer. Yr oedd *weight of character* yn grymysu yr hyn oll a ddywedai. Yr oedd yn ddyn mawr mewn gwirionedd; nid dyn enwad yn unig oedd; yr oedd yn rhy fawr i hyny. Nid oedd dim crybachlyd ynddo, ond dyn i gymdeithas oedd, a theimlir colled fawr gan gymdeithas ar ei ol. O mor wag yr ymddengys Llanfynydd heb ein boneddigaidd, ein serchog, a'n hanwyl, John Oliver. Gellir dweyd am dano fel y dywedodd Iesu Grist am Ioan Fedyddiwr, 'Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo, a chwithau oeddych ewyllysgar i orfoleddu dros amser yn ei oleuni ef.' Erbyn heddyw y mae y ganwyll wedi diffoddi; ond er hyny, credaf y bydd ei waith fel bardd a llenor yn goleuo yn danbaid yn y dyfodol, ac y bydd er wedi marw yn llefaru etto."

Er yn analluog i lanw un cylch cyhoeddus, yr oedd ei fywyd yn mhell iawn o fod mor ddiffrwyth ag y tybiai ef weithiau ei fod. Nid oedd neb ag y byddai ei gyfeillion yn fwy parod i ymgyngori ag ef mewn

cyfyngder, ac ar gydymdeimlad yr hwn y gallent gyfrif yn fwy diogel mewn trallod, nag ef. Bu dda i ni lawer gwaith i dderbyn ei gynghorion doeth a synwyrlawn, a bu ei eiriau tyner fel balm i'n clwyfau mewn aml drallod. Yr oedd ei gystudd hirfaith wedi rhoddi rhyw ëangder rhyfeddol i'w brofiad, a rhyw addfedrwydd anamserol i'w farn a'i deimlad. Hoffai y cyfeillion crefyddol o bob enwad yn Llanfynydd gael ei bresenoldeb yn y gyfeillach, ac er ei fod wedi ei ddwyn i fyny yn eu plith, gwrandawent arno gyda chymaint parch a phe buasai yn angel Duw. Gall ymadroddion fel hyn ymddangos fel gormodiaith i ddyeithriaid, ond tybiwn y cydnabydda pob un o'r ardalwyr eu bod yn berffaith wir. Rhy anhawdd yw gallu dweyd am bob math o gymwynasau a wnelai. Os buasai llenor ieuanc yn awyddu derbyn cyfarwyddyd yn y gelfyddyd o gyfansoddi, troai yn union at fy mrawd. Os cyfarfyddai rhyw un â dyryswch wrth ddarllen ei Feibl neu astudio rhyw lyfr arall, dygid yr anhawsder yn ddioed ger ei fron ef. Os buasai eisiau ysgrifenu llythyr at arglwydd y tir, neu at berthynas yn Morganwg, neu America, neu Awstralia, nid rhaid ceisio ganddo ef fwy nag unwaith. Mor bell ag y goddefai ei lesgedd, ac yn wir tu hwynt i'w nerth, byddai yn barod bob amser i wasanaethu ei gymydogion; a chafodd mewn ad-daliad yr hyn oedd werthfawrusach na'r aur colladwy—serch calon y rhai oll a'i hadwaenent. Gadawodd argraff ddofn trwy ei dduwioldeb dysglaer ar yr ardal, a rhoddodd gynhyrfiad grymus i feddyliau y dosbarth hwnw a gyfrifai yn mhlith ei gyfeillion mynwesol. Byddai amryw ddynion darllengar ac ymofyngar, megis Ebenezer Evans, William Lewis, a William Morgan, yn ymweled âg ef braidd bob nos, ac yn treulio oriau yn ei gymdeithas. Yr oedd hyn yn foddhâd rhyfeddol iddo, canys yr oedd ei natur yn ryw angherddol o gymdeithasgar. Nid oedd neb yn gallu gwerthfawrogi stori dda yn well, neu yn gallu chwerthin yn fwy

iachus pan oglesid ei deimlad gan *wit*. Oddigerth pan yn glaf iawn, byddai bob amser yn llawen a siriol; ond ni byddai un amser, o leiaf yn ei flynyddoedd diweddaf, yn syrthio i dir ysgafnder. Nodweddid ei holl ymddiddan gan grefyddolder dwfn. Pell oedd o fod yn euog o "daflu gemau o flaen y moch" trwy wthio ei deimladau crefyddol i sylw ar adegau anamserol. Yr oeddent yn rhy angherddol a grymus iddo allu gwneud hyny. Ond pan gai amser cyfaddas, a chalonau a fedrent gydymdeimlo âg ef, byddai y cauad yn cael ei godi, ac ymarllwysai ei deimladau yn ffrwd lifeiriog o feddyliau grymus a geiriau pur. Yr oedd yn byw yn barhaus yn ymyl afon angau, ac yr oedd hyny wedi rhoddi ysprydolrwydd anarferol i'w feddwl. Dywedai wrthym unwaith pan yr oedd anwyd wedi cynhyrfu ei ddolur, ond yn mhell cyn ei farw, ei fod yn nghanol yr afon, ac na wyddai pwy ochr y deuai i fyny, a'i fod yn ddiolchgar i allu dweyd nad oedd yn ryw lawer gwaeth ganddo pa ochr ychwaith. Mae yn dda iawn genym osod o flaen y darllenydd y llythyr canlynol oddi wrth Mr. William Morgan, Nantgwilw, blaenor parchus gyda'r Methodistiaid yn Llanfynydd, ac un o gyfeillion anwylaf a ffyddlonaf fy mrawd:—

"Ni byddai yn ddoeth ynof i geisio rhoddi unrhyw ddesgrifiad o alluoedd meddyliol eich anwyl frawd, gan eich bod chwi yn fwy adnabyddus ag ef yn y ffordd hono; ond os nad ydyw yn briodol i mi ddweyd dim, pe medrwn, pa mor uchel y medrai ei feddwl galluog esgyn yn ngwahanol ganghenau gwybodaeth, efallai na fyddai yn ammhriodol i mi ddweyd gair pa mor isel y medrai ddisgyn. Medrai ymostwng i gyfarfod â'r mwyaf tywyll ac anwybodus yn y plwyf ar ei dir ei hun. Ymddiddanai yn syml a dirodres â phob un o honom, fel pe na buasai yn gwybod mwy nag un o honom ninau. Ac os byddai eisiau cael goleuni oddiwrtho ar ryw bwnc neillduol, ni byddai yn y mesur lleiaf yn amlygu fod rhyw agendor annhramwyadwy rhwng ein hamgyffredion gweiniaid ni a'i wybodaeth eang ef ei hun; ond os buasai yn gweled rhyw syniad egwan yn cyfeirio at y pwnc, buasai yn rhoddi y gwerth mwyaf arno, ac yn dweyd am dano ei fod yn agos iawn a bod yn gywir.

"Nis gallaf byth anghofio yr hyfrydwch a deimlwn wrth fyned atto i geisio eglurhad ar rywbeth a deimlwn yn dywyll i fy meddwl

Nid oedd gwahaniaeth yn y byd pa un a'i pwysig a'i dibwys fuasai y peth. Os mai rhywbeth pwysig fuasai, gallaswn fod yn gwbl hyderus y cawswn gwbl foddlonrwydd arno; ac os mai rhywbeth hollol ddibwys fuasai, nid oedd yn rhaid i mi ofni bradychu fy anwybodaeth iddo ef. Hwyrach y buasai ar y cyntaf yn cymeryd arno ei fod i raddau yn ddyeithr iddo, ac yna buasai yn rhaid trin a throi gronyn arno; ac yn gyffredin y pethau mwyaf dibwys oedd y pethau yr oedd yn rhaid treiglo fwyaf arnynt, a hyny, yn ol fy meddwl i, fel y gallwn egluro fy hun yn fwy llwyr iddo. Teimlwn trwy hyn ei fynwes megis yn ymagor, a minau wedi fy ynill yn llwyr ganddo. Dyma pa beth ydoedd gwir gyfeillgarwch, onite? Cefais lawer o fy egwyddori ganddo mewn hanesiaeth Eglwysig. Yr oedd cyfodiad a nodweddion y Babaeth yn beth cwbl gyfarwydd ganddo; ac yr oedd holl hanes yr Eglwys Brotestanaidd o ddyddiau Wickcliffe hyd yn bresenol mor adnabyddus iddo a phe buasai yr oll wedi cymeryd lle yn ei ddyddiau ef. Ni byddai eisiau edrych am unrhyw lyfr i gael allan y manylion mewn cysylltiad ag unrhyw berson neillduol, neu gynadledd a gynhaliwyd, neu ddeddf a wnaed, yn ystod yr holl amser hwn. Mynych iawn y clywais ef yn dweyd mai dau beth oedd wedi bod yn rhwystrau ar ffordd llwyddiant yr eglwys, sef y llyffetheiriau a roddid am gydwybod gan y llywodraeth wladol, a'r difrawder a attaliai ddynion rhag chwilio a barnu drostynt eu hunain. Dywedai fod ei feddwl ef yn cael ei ddigaloni weithiau wrth weled mor bell yr oedd dynion yn cymeryd eu llywodraethu gan amgylchiadau, ac nid gan egwyddorion. Ni welais neb erioed a chymaint sel a rhyddfrydigrwydd wedi cydgyfarfod ynddo. Ni byddai raid i ddyn gydolygu âg ef er mwyn cael ei werthfawrogi ganddo; ond os gwelai ef yn ymchwilio yn onest am y gwirionedd, ac yn meddu digon o wroldeb i lynu wrth ei egwyddorion trwy bob amgylchiadau, byddai yn ystyried y cyfryw yn deilwng o barch dauddyblyg. Carech glywed, y mae yn ddiau genyf, am ymddiddanion a fu rhyngom yn ei amser diweddaf. Un peth y buom yn ymddiddan yn ei gylch oedd llywodraeth Duw ar y byd, ynghyd âg effeithioldeb gweddi. 'Yr wyf yn meddwl,' meddai, 'fod gormod pwys yn cael ei roddi ar ddeddfau natur, a rhy fach o edrych ar Dduw trwyddynt. Nid oes eisiau taflu deddfau natur o'r neilldu er ein galluogi i gredu fod Duw mewn modd uniongyrchol yn llywodraethu holl amgylchiadau y byd.' 'Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw.' 'Pe byddem yn meddu ar ddigon o burdeb calon, byddem yn alluog i weled Duw trwy ei ddeddfau, a'i weithredoedd, a'i oruchwyliaethau.' 'Ië,' meddwn inau, 'gallwn roddi lle i weithrediad deddfau natur, ac ystyried fod gan Dduw ddigon o awdurdod arnynt i beri iddynt weithredu yn groes iddynt eu hunain.' 'Na,' ebe yntau, 'nid wyf yn meddwl fod un ddeddf wedi ei chroesi er creadigaeth y byd.' 'Pa fodd hyny? Onid deddf y tân ydyw llosgi? Ond pan daflwyd

y llanciau i'r ffwrn yn Babilon, ni wnaeth gymaint a deifio blewyn o wallt eu penau. Onid deddf y dwfr ydyw rhedeg i waered? Ond pan aeth Israel trwy yr Iorddonen, fe drôdd y dyfroedd yn eu hol.' 'Ië,' meddai yntau, 'ond y mae yn rhaid i chwi ystyried fod pob deddf sydd yn gweithredu yn natur yn tarddu o ewyllys Duw. Gallasai ef roddi deddf i'r tân i beidio llosgi, yn gystal a rhoddi deddf iddo i losgi; a chan fod Duw wedi rhagweled er tragwyddoldeb yr amgylchiadau hyny, yr oedd wedi eu rhoddi yn ei ddeddf, pan yn eu sefydlu ar y cyntaf. Felly, mewn ymddangosiad yn unig yr oedd y ddeddf yn cael ei chroesi, ac nid mewn gwirionedd. Ond nid â deddfau y Goruchaf y mae a fyno y credadyn pan y mae yn agoshau at Dduw mewn gweddi, ond â'i addewidion. 'Galw arnaf fi yn nydd trallod, a mi a'th waredaf; a thi a'm gogoneddi.'

"Gyda golwg ar ei brofiad yn ei ddyddiau diweddaf, dengys yr ymddiddan canlynol ei ansawdd; ond ni fu dim siarad rhyngom fod tebygolrwydd y byddai iddo ef farw yn fuan. Er iddo dreulio blynyddoedd yn swn ddyfroedd yr hen Iorddonen, ni chlywais ef yn awgrymu erioed fod tebygolrwydd y buasai iddo ei chroesi yn fuan. Ond clywais ef yn dywedyd unwaith nad oedd un pwys yn y byd mewn marw—mai dyna beth oedd marw, oedd dyn yn gorphen ei daith; a chwi wyddoch, meddai, pan fyddo dyn ar ei daith, mai nid yn y cam olaf yn unig y mae y pwys, ond fod cymaint pwys mewn rhanau ereill o'r ffordd. Felly bywyd dyn sydd yn gosod pwys ar ei farwolaeth. Ac yn wir gallasem feddwl nad oedd ef yn teimlo unrhyw ofn wrth wynebu yr amgylchiad. Cefais y fraint o ymddiddan ag ef y noson ddiweddaf y bu yn gallu siarad gydag un cysondeb. Yr oedd pob arwyddion yn dangos yn eglur erbyn hyn (ac yr oedd yntau yn ddiameu yn gwbl ymwybodol o hyny) ei fod yn—

> Nesu at ymyl y dwr,
> Bron gadael yr anial yn lân.

Ac etto edrychai mor dawel, mor siriol, ac mor foddlongar a phe na buasai dim o bwys ar gymmeryd lle. Ond yr hyn oeddwn ar fedr ei ddweyd yn awr, oedd ymddiddan a gymmerodd le rhyngom oddeutu wythnos cyn yr amser hwn. Aethom rywfodd i siarad yn nghylch y gwahanol raddau yn mhrofiad y Cristion, a dywedais fy mod wedi clywed sylw unwaith mai y tir uchaf yn mhrofiad y Cristion oedd dymuniad am gael myned at Iesu Grist i'r nefoedd i'w fwynhau yn ddilen. Wel, meddai yntau, nid wyf yn ystyried fod hynyna yn gywir. Mae rhyw syniad Pabyddol yn gorphwys wrth wraidd y dymuniad yna, yn cyfyngu presenoldeb Crist i le neillduol. Yr wyf yn gallu deall pa fodd yr oedd Paul wedi ei weithio i'r tir yna; ond nid wyf yn meddwl fod yn rhaid myned i'r nefoedd er mwyn cael mwynhad o Iesu Grist. Medr ffydd ddwyn Crist i'r enaid yn y byd hwn, os bydd y

meddwl mewn ansawdd briodol i'w dderbyn. Fy mhrofiad yn wyneb hynyna yw, fy mod yn ymfoddloni i ewyllys Duw gyda golwg ar farw, ond dymunwn yn fawr gael fy meddwl i'r fath ansawdd ag i allu cael yr hyn sydd yr ochr draw i fy mhrofiad yr ochr hyn. Dyna ei brofiad oddeutu wythnos cyn ei farwolaeth, ond yr wyf yn meddwl pe byddai bossibl cael gair oddiwrtho yn bresenol, mai natur ac nid graddau y mwynhad oedd yr hyn a olygai."

Byddem yn edrych yn mlaen at bob gauaf gydag ofn a phryder dwys; ond gyda dyfodiad yr haf byddai ein gobeithion, yn eu perthynas ag ef, yn ymadnewyddu. Hyd ddiwedd Mai, 1866, yr oedd wedi bod gystal ag arfer, pan y cafodd anwyd trwm yn nghyfarfodydd urddiad y Parch. W. Gibbon, yn Nghapel Isaac. Cynhaliwyd y cyfarfodydd hyn ar yr 30ain a'r 31ain o Fai. Yr oedd y cynulleidfaoedd yn lluosog anarferol, a chymaint oedd yr hyfrydwch a deimlai ynddynt fel y methodd gael ar ei galon i ymadael cyn y cyfarfod hwyrol, a'r canlyniad o fyned allan o awyr wresog, a marchogaeth dwy filldir tuag adref trwy awyr oer y nos, oedd iddo gael anwyd, yr hwn a gynhyrfodd ei afiechyd, ac a ddifaodd ei nerth. Dioddefodd boen mawr yn ystod ei ddyddiau diweddaf. Dywedai unwaith wrth ein mam fod y poen mor fawr fel y teimlai nas gallasai ddioddef mwy; ond pan ofynodd iddo boreu tranoeth pa fodd y teimlai, attebai yn serchog fod y baich wedi ei ysgafnhau, ac y teimlai y gallai ddioddef mwy. Parhaodd i waethygu o ddydd i ddydd, ac yn y diwedd collodd ei lais yn llwyr, fel nas gallai lefaru. Yr oedd yn amlwg i bawb fod y diwedd gerllaw, ac nid oedd neb yn fwy ystyriol o hyn nag ef ei hun; ond ni amlygai unrhyw fraw nac ofn. Yr oedd mor addfwyn ac amyneddgar ag erioed. Ar y 24ain o Fehefin, ar ddydd yr Arglwydd, pan yr oedd yr ardalwyr yn y cyssegr yn addoli, a phan yr esgynai aml weddi ar ei ran ef, ymadawodd ei enaid pur â'r babell wan, ac esgynodd i wlad lle ni ddywed neb o'r trigolion, "Claf ydwyf." Yr oedd yr ysgrifenydd ar y pryd yn y Gogledd. Derbyniasai lythyr yn Mhwllheli, ar

ddydd y gymanfa, nad oedd gystal ag yr arferai fod; ond yr oedd wedi cael clywed newyddion cyffelyb am dano mor aml fel na pharai y llythyr iddo feddwl ei fod wedi cael anwyd gwaeth nag a gai yn aml. Heblaw hyny, yr oedd y tywydd wedi dyfod yn ffafriol iawn; a chof ganddo, ar ol treulio noson yn llawen iawn yn nghwmpeini ei gyfaill Hwfa Môn, pan yn cyfeirio ei ffordd tua Llanberis, ei fod yn meddwl ynddo ei hun y buasai ei frawd egwan ac afiach yn cael byw blwyddyn yn hwy o leiaf; ond y newydd cyntaf a'i cyfarfu ar ol cyrhaedd yno oedd, fod ein hanwyl John wedi ymadael. Yn lle treulio ychydig ddyddiau yn ddedwydd gyda fy mrawd yn Llanberis, gorfu arnom ein dau yn ddioed droi ein hwynebau tua thŷ ein rhieni, i'w cysuro yn eu galar, ac i gyflawni ein dyledswydd olaf tuag at weddillion ein brawd. Ar y dydd Iau canlynol, Mehefin yr 28ain, ymgynullodd tyrfa luosog ynghyd, ac yn eu plith amryw o'i hen gydfyfyrwyr. Yn y tŷ darllenwyd a gweddiwyd gan y Parch. D. Jones, Abergwili; yna aethpwyd i gapel y Methodistiaid, lle y pregethwyd yn rymus a phwrpasol gan y Parch. T. Job, a'r Parch. Hugh Jones, Caerfyrddin. Cymerwyd rhan yn y gwaith hefyd gan Mr. Griffiths, gweinidog y Bedyddwyr, a Mr. Gibbon, o Gapel Isaac. Yr oedd swn taranau i'w clywed yn y pellder pan araf symudwyd y corph i fonwent y pentref, ac ar ol darllen y gwasanaeth gan yr offeiriad, dodwyd ei weddillion marwol i orwedd yn nghladdfa y teulu, o dan ywen ieuanc yn y cwr gogleddol (man yr edrychasai yn aml arno trwy ffenestr tŷ ei dad), "mewn gwir ddiogel obaith am adgyfodiad i fuchedd dragwyddol."

Nid oedd ond 27 mlynedd ac wyth mis oed pan fu farw. I'n golwg ni yr oedd wedi ei gynysgaethu â chymhwysder neillduol ar gyfer defnyddioldeb helaeth yn y byd: meddai ar alluoedd cryfion, a'r rhai hyny wedi eu haddysgu yn ofalus, a chwedi eu cysegru ar allor crefydd. Mae rhywbeth yn dywyll iawn

i ni yn ei symudiad; ond hwyrach fod gan y Llywydd mawr waith neillduol i eneidiau o'r fath mewn rhyw gwr arall o'i Lywodraeth. Nid oes genym ond ymdawelu yn wyneb yr oruchwyliaeth, a bod yn ddiolchgar am gael ei gymdeithas gyhyd. Nid oes genym un ammheuaeth na fydd y darllenydd o'r farn fod y "gweddillion" canlynol yn gynyrchion meddwl o radd uchel. Ond yr oedd mwy ynddo nag a ddaeth allan erioed o hono. Yr oedd ei nychdod a'i wendid yn attalfa barhaus ar ei ffordd—yn attalfa ar ei ffordd i gasglu gwybodaeth, ac yn attalfa ar ei ffordd i gyfansoddi. Er ei fod yn un o'r ysgolheigion mwyaf *correct* a welsom erioed, gallasai fod wedi cyrhaedd yn uwch o lawer pe cawsai iechyd rhagorach. Buasai llawer un o'i gyfansoddiadau hefyd yn fwy nerthol a pherffaith, oni buasai fod ei feddwl yn cael ei lwfrhau gan eiddilwch y corph. Ond os bu ei afiechyd yn rhwystr ar ffordd ei gynydd yn feddyliol, bu yn fantais fawr iddo mewn ystyr ysprydol. Cafodd ei berffeithio fel y Blaenor "trwy ddioddefiadau." Pan yn yr Athrofa blinid ef yn aml gan yr ammheuon ag y mae y rhan fwyaf o ddynion meddylgar yn agored iddynt; ond am flynyddoedd cyn ei farw yr oedd yn byw mewn cymdeithas barhaus â'r Anweledig. Yr oedd ei enaid wedi ei feddianu gan grefydd. Nis gwelsom ddyn mor ieuanc erioed wedi cyrhaedd i afael profiad mor addfed. Gallasai fabwysiadu geiriau Paul a dywedyd "byw i mi yw Crist, a marw sydd elw." Yr oedd yn hawdd i bawb a'i hadwaenent i weled fod y gwaith o Santeiddhad yn cael ei ddwyn yn mlaen yn ei yspryd, a'i fod yn cael ei wneud yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni. Ni allodd yn ei fywyd gyrhaedd dylanwad eang, ond os nad ydym yn camgymeryd cyrhaeddodd ddylanwad parhaus. Y mae ei ddelw wedi ei hargraffu ar lu o galonau, a bydd ei enw yn berarogl yn ardal ei enedigaeth am lawer cenhedlaeth: ac hyderwn y bydd trwy y gyfrol hon er wedi marw yn llefaru wrth ei gydwladwyr am lawer oes.

## TO THE MEMORY OF JOHN OLIVER,

LLANFYNYDD,

Eminent for his intellectual acquirements, his classical taste, and his mild and habitual Christian deportment. Well might it be said of him, "Behold an Israelite indeed, in whom is no guile."

Another star in glory—
Another spirit gone to cluster mid
The jewels of the Saviour. Gone, ay, gone,
Where fading is unknown, where parting tears
Are hushless, and where all is sinless peace
Without an aching sorrow. Friend beloved!
The consummation of thy heart is gained,
And now thy wondrous intellect so great
In all its elements of gathered lore
Is perfected! Thy eye so holy soft
Is glowing by the sweet seraphic tones
Of countless myriads joining with thine own
In praise eternal. No exhaustion there,
No brow of weariness, no fainting breath,
No quenching of the deep soul's ardent love,
No lassitude nor fear of gloomy night,
No ponderings of care, no envious tongue
To rob thee of the blessedness above,
No pain, no throbbing heart, no doubting faith,
But firm abiding happiness and rest
For ever with the Lord.
Still, still, we miss thee sore,
And fain would hear the footsteps come again
In gladness by us. But it may not be!
Thy course is ended, and thy life of bliss
Is superseding all that earth can boast
Of earth's affection. Thus we give thee up,
Our noble and beloved.
God of grace,
Give strength, ay, consolation to his dear
And honoured parents. Bid them calmly look
Beyond these worldly scenes of tears and grief
On to the future. Yet a little while,
A few brief seasons, nay, it may be hours,
And they shall go to him and endless dwell
In sweet communion with the white-robed throng
Who chant for ever of redeeming love.

Carmarthen. ELIZA.

# DAFYDD, TYWYSOG YR ARGLWYDD.

## Caniad I.

Y gwr ddewisodd Duw oddiwrth y praidd
Yn Flaenor ac yn Fugail Israel oll—
Ei drallod maith a'i oruchafiaeth lwyr
Ar hen elyniaeth a chynllwynig lid
Y teyrn annedwydd a giliasai'n falch
Oddiwrth y dwyfol air, gan gau ei hun
O fewn amgaerau'i hunanoldeb gwan,
A diystyru cynghor nef, nes dwyn
Dialedd fel llifeiriant am ei ben,
A throi oddiwrtho y freninol hawl
At un a gafwyd wrth fodd calon Duw,
I lywodraethu y ddewisol hil,
A rhoddi iddynt eu gogoniant llawn,
A'u glwys ddefodau yn y cyssegr le
Neillduwyd gan Jehofah iddo'i hun.
Hyn yw fy nghân, ac O arddunol ddawn,
Gyssegrit gerdd y per ganiedydd gynt,
Nes gwneyd ei eiriau i fod yn fythol fyw
Yn nheml dynoliaeth, a'u peroriaeth fwyn
I nefoleiddio'r byd o oes i oes,
Rho im' enneiniad a dy olew pur,
Modd gallwyf godi i uchelfan glwys
Fy ngherdd-bwnc santaidd, ac egluro'n iawn
Wirionedd a ffyddlondeb grasol Duw.

Anaele gwr! O awen, d'wed paham
Mae Hareth goediog yn adseinio cwyn
Wylofus rhywun sy'n drwmlwythog, trist,
Yn adrodd mewn och'neidiau'i ofid dwys,
Gan araf symmud trwy'r cilfachau taw?
Ai un yn gwisgo'r ephod santaidd bur
Yw ef sy'n curo'i ddwyfron yn ei wae?
Aaroniad trist, ai'n unig wyt yn ffoi?
Cnul drygfyd Israel sy'n dy chwerw lef!
Llofruddiog nwyd sydd heddyw'n goch gan waed,
A Nob yn anrheithiedig wyla'n fud,
Heb un offeiriad ynddi, a'i thuser aur
Yn chwyfio'r arogl-darth, na neb yn dwyn
Ei offrwm i Jehofah dros ei fai.
Pob tŷ sydd wag, ni chlywir seiniau cân
Y fenyw fwyn, na llais y plentyn llon;
Dystawrwydd megis hunllef orwedd ar
Y dreflan unig, tra mae gweision Ior
A'u gwaed yn sathrfa'r dienyddwr traws.
O genedl flin! dy obaith drodd yn som!
Tra'r oedd awr-fynag dy ragdynged di
Yn dweyd mai'r bore oedd, machludo wnaeth
Dy haul ar anterth dy gynnyddol lwydd.
Y gwerthfawr addewidion roddwyd gynt,
A'r cyfrin ddatguddiadau am ryw ddydd
Pan ddoi o honot Un i lwyr iachau
Y byd o'i lesgedd, ac i ddwyn i mewn
Yr holl genedloedd dan ei deyrnas lwys—
Hudoliaeth oeddynt oll! pa le yn awr

Mae claer gynlluniau dy ogoniant di?
Fel hyn dyfrydai Satan, tra'r oedd traed
Blinedig Abiathar yn ei ddwyn
Ar ffoedigaeth rhag galanas erch,
I Ceilah gaerog at Dywysog Duw.
Lledwenai yr Archelyn yn ei nwyd
Wrth wel'd y dystryw ymdaenasai'n chwyrn
Dros Israel lwfr—ei deddfau oll yn sarn,
Ei Phrophwyd yn galaru wrtho'i hun
Yn Ramah brudd, a Saul, ei brenin balch,
Yn llosgi gan gynddaredd milain, blwng,
A gwaed offeiriaid Duw yn golchi ei draed,
Ac yntau'r hoff Enneiniog draw yn drist
Yn Ceilah mewn neillduaeth rhag y llid,
A ffoedigion trawsder ato'n ffoi
Fel i ddiffynfa rhag pob gelyn dig—
Rhai o Ephratah hoff ac Arba hen,
A rhai o Gaas a'i chornentydd clir,
A rhai o Hador sydd a'i ffynon lawn
Yn disychedu'r teithiwr ar ei hynt
Rhwng Carmel a Gilboa, rhai o Gad
Tuhwnt i'r afon, lle mae Gilead fras
Yn estyn i'r mynyddoedd, rhai o Ar
Warchoda'r bryniau yn y Dwyrain pell—
At Dafydd deuynt oll, ac wele'n awr
Fab Ahimelech wrth y porth yn flin,
Yn curo'i ddwyfron ac yn codi ei lef:
"Ganlynwyr Dafydd, enneiniedig Duw,
Tywyllwch a galanas sydd o'm cylch,

A gwaedlyd frâd sy'n erlid ar fy ol.
Ewch, d'wedwch wrth eich T'wysog dewr fod un
Sydd gyfaill iddo, wedi ffoi rhag cam
Ac yma'n gofyn ei amddiffyn Ef."
  Ar hyn prysurai un o'r llanciau 'n chwai
I gludo'r gennadwri newydd hon
I glyw y Blaenor ; a'r offeiriad llesg
Orweddai ar y llawr dan bwys ei gur,
A'i ocheneidiau dwys yn tori ar draws
Y gaerfa ddystaw, ac yn synu'r gwyr
A safent ar y tŵr i wylio'r porth.
  "O Dduw fy Nhadau," d'wedai yn ei gwyn,
"P'odd yr edrychi ar y dystryw hyn?
O Ahimelech! oer yw'th fron fu'n dal
Ardderchog feini y ddwyfroneg lwys,
A'r cyfrin oleuadau : creulawn gledd
Y ci dienwaededig wnaeth dy dranc!
F' anwyliaid oll! pa le yn awr maent hwy?
Fy llygaid, cauwch, gan nad oes o'm cylch
Ond t'wll'wch a galanas yn mhob man!"
  Fel hyn y cwynai Abiathar drist;
Mal ar ddiwrnod gwlawiog pan fo'r gwynt
Yn chwythu dros y cwm yn don ar don
Y manwlaw niwlog, felly dros ei fryd
Ymledai ei ofidiau'n gwmwl tew,
A'i leni'n llwythog o gynnyddol wae.
Ond weithian doi'r gorchymyn at y gwŷr
I roesaw y dieithryn hwn i mewn,

Ddeisyfai nodded Dafydd rhag ei gam.
Y porth agorid gyda llawer gwich,
A rhincian cras y bolltau haiarn, trwm,
Ac anfodd ryngiad y crogfachau praff
A chwyrnent megys wrth ddadgloi eu rhwd.
Offeiriad Duw arweinid gyda pharch
I mewn i'r ddinas, tra y gwelid draw
Y t'wysog yn dynesu, ac o'i gylch
Gadbeniaid dewrfryd ei ganlynwyr glew:
Adino'r penaeth, Eleazar gryf,
A Samnia, cedyrn Dafydd gelwir hwynt—
Ac enwog fab Serfiah, Joab hyf,
A mab Jehoiada, Benaia ddoeth,
A'r dewr Abishai a'i esgeidig frawd.
Yn mysg y dewrion hyn y Blaenor oedd
Ond megys llanc, ac eto ger ei fron,
Cydymdrech pawb oedd dangos iddo'u parch
A'u hymfalchiaeth serchlawn ynddo ef,
Eu Llyw digymhar a'u Blaenorydd oll.
Efyntau'n wylaidd, fel pe na bai dim
Rhagoriaeth ynddo, rodiai yn eu plith
Heb drawsder nac ymhoniaeth; urddas pur
Ei nawd gynhenid welid yn ei wedd:
A phob ysgogiad dderchid gan rhyw ddawn
Addurnol oedd heb wybod iddo ef
Yn reddf naturiol ynddo o blaniad Duw,
Ac yn ei lwyddo yn yr oll a wnai.
O'i fodd y bwa blygai dan ei law,
A'r saeth ymsythai fel o honi ei hun

Mewn awydd at y nod, a'i loewbryd lafn
Fel fflam agorai rhagddo resi'r gal.
Doethineb lywiai'i gynghor yn yr oll
Nes dwyn pob meddwl iddo'n foddus gaeth;
A'i hydwyth amgyffredion estyn wnaent
Dros bell randiroedd gwybodaethau maith
I'w dwyn dan deyrnged i'w ddirnadaeth gref.
O dan ei law y delyn swniai fel
Pe angel yn cyweirio nod pob tant.
Ac O! fel llifai ysbrydoliaeth bur
Ei lwys athrylith pan mewn nefol hwyl
Y canai i Jehofah Salm o fawl!
A gwen garuaidd, deuai'n mlaen yn awr,
Yn mysg ei ddewrion i roesawu'r gwr.
Offeiriad Duw a blyga'i ben yn fud
A'r dagrau ar ei ruddiau; gormod pwys
Ei ofid ar ei ysbryd lethai'i lais.
Ei galon fethai dan y wasgfa drom,
A'i deimlad chwyddai fel rhewedig ffrwd
Sy'n croni ei rhediad â'i gorlanw ei hun.
Ond Dafydd a'i hadwaenai, ac ar naid
Esgeidig redai i'w gofleidio ef,
Gan gyfarch iddo gyda thyner dôn:
"Fab Ahimelech! O adfydus wedd
Fy ngwlad anwylaf pan y gwelir di
Yn gadu'r allor ac yn ffoi mewn ing
At un erlidir megis gelyn Duw!
Pa beth ddygwyddodd? Pruddaidd ofnau sydd
Yn ail ymgodi ynof. Cofio'r wyf

Gilwgus drem y cas Edomiad gynt,
Pan lerciai ger y babell tra'r oedd Duw
Trwy law dy dad yn estyn cymhorth im'
I ffoi rhag llid a bradus gynllwyn Saul.
Ai gwir a ofnwyf? a ddifrodwyd di,
A thŷ dy dad, am i chwi wneyd mewn serch
Gymmwynas barod i mi pan yn ffoi ?
A yw trueni Israel ar ei phen
Mor drwm nas gall offeiriad godi ei law
I wneyd daioni i un cywir fron
Heb dynu arno ddialeddus wg?
Fab Ahimelech, d'wed pa beth yw'r baich
Sy'n llethu d'ysbryd hyd yr isel lwch."
Ar hyn fe dorai'r argae oedd o'r blaen
Yn cau i fewn lifeiriant mawr ei wae,
A chyda dagrau yr atebai'n wyllt:
"O obaith Israel! Ti a gododd Duw
I roi ymwared i'w adfydus hil.
A welaist ti y nos yn dod i lawr
Yn wgus mewn cymylau ac mewn storm,
Gan dduo pob prydferthwch rhag ei blaen,
A chwythu caddug fry dros ser y nen?
A welaist ti y corwynt yn ei far
Yn chwalu'r tyrau megys byhod cawn,
Neu'n rhwygo'r cedrwydd fel gwinwydden ir?
Dy olwg tro at Nob, cei weled nos
Yn taenu caddug dros y fangre brudd!
Dos at y babell, a'th gyfeillion fydd
Y dagrau ddygant ddellni ar dy drem

Rhag gwel'd o honot ddifrod cyssegr Duw.
O Ahimelech! pa amddiffyn fu
Y santaidd ephod ar d'ysgwyddau hen?
Ai nid oedd claerder y ddwyfroneg lwys
Yn ddigon i wrthdroi'r llofruddiog gledd
Oddiwrth dy galon?"
"Cledd!" syn-waeddai pawb
A dychryn ar eu gwedd yn magu llid.
Ond Dafydd safai mewn mudandod syn,
A'i wedd yn gwridio a gwelwi ar yn ail
Gan angerdd teimlad; yna dywedai'n brudd,
"O Ahimelech! nid am danat ti
Y mae fy nghwyn, ond am fy nhruan wlad!
Pan ladder y dieuog bydd ei waed
Yn gwisgo'i enw â phorphoraidd fri;
A myn cyfiawnder er galanas dyn
Ymgodi hyd y nef yn ddiystaen,
Heb blygu pen nes cyrhaedd gorsedd Duw.
Uniondeb calon sydd yn drech na'r cledd,
A rhinwedd feiddia falais angau'i hun.
Ond beth am danat ti, fy ngwaedlog wlad?
Pa fodd gwellheir dy glwyfau dyfnion di?
O Dduw fy nhadau, a anghofiaist byth
Dy etifeddiaeth am ein camwedd hir?
Dy law a'n dygodd o'r caethiwed gynt,
Gan agor tonau'r dyfnder cryf o'n blaen,
A gwneyd y disathr anial ini 'n ffordd.
Gelynion cedyrn blygent ger dy fron,
A thrwy dy allu gorchfygasom hwynt,

Nes cael o honom ddod i mewn i'th dir.
Ond heddyw wele ni 'n druenus oll,
A'n gobaeth ynom wedi troi yn ofn.
Cyfiawnder nid eistedda wrth ein pyrth,
A'n llywodraethwyr a'th anghofiant di,
Gan feithrin balchder a chwenychu drwg.
Ein brenin a eneiniwyd genyt ti
Sydd fel yn gadu ei Arglwydd, ac yn troi
At wâg obeithion y cenedloedd ffol
Sy'n ymbalfalu fel estroniaid hurt
Heb wybod dy gyfreithiau santaidd pur.
Fel defaid heb fugeilydd crwydro wnawn
Mewn anialdiroedd, yn agored oll
I raib ysglyfaeth pob rhyw fwysfil gwyllt."
Chwanegai Abiathar, "Na, tydi
Ddewiswyd gan Jehofah i fod yn ben
I obaith Israel, ac i adgrynhoi
Ei wasgaredig braidd o fewn y gail.
Fel ar lechweddi Ephrath gwnaethost gynt
Waredu 'r gorlan rhag y llew a'r arth,
Pan oedd ieuengaidd ddewder yn dy fron
Yn nerthu 'th dyner fraich, efelly'n awr
Yn rhywfodd galluoga Duw dydi
I roi ymwared eto i'r genedl hon.
Fel gwyneb Moses yw dy wyneb mwyn
I'r bobl drallodedig ; yn dy wedd
Mae Duw yn gwenu arnom—canfod wnawn
Waredydd rhag y dinystr Aiphtaidd hwn.
Fy nghalon lesg sy'n ail ymnerthu dan

Ddylanwad dy gyssegriad: er fod cledd
Y dyeithr taeog wedi yfed gwaed
Fy holl anwyliaid—ië, er fod arch
Jehofah fel peth dirmygedig, gwael,
Yn crwydro o'i chyssegrle—er fod nwyd
A gwŷn uchelgais wedi hagru gwedd
Breniniaeth Israel, nes ei dwyn mewn gwarth
I arddel ffoledd gormes ddidduw wag:
Er hyn i gyd nid anobeithio wnaf,
Duw sydd y fynyd hon yn rhoi im' nerth,
A thranc anobaith sydd lle cymhorth Duw.
Ai ni fynegwyd ini beth a wnaeth
Yr Arglwydd drosom yn y dyddiau gynt?
Ai mwy ein cyni na phan oeddym oll
Yn gaeth mewn estron wlad, pan roddodd ef
Ymwared in' trwy agor môr o'n blaen?
Duw roddodd Moses, Duw a'th roddodd di,
Gan lanw 'th enaid â'i fawreddus ddawn,
A dysgu 'th galon nes bo'r delyn ber
Yn ateb i'th gyffyrddiad, gan roi mawl
Ysbrydoledig fel yr Urim glwys
Ar ddwyfron Aaron i'w 'mofyniad gŵyl
Am fawr ddirgelion Duw; dy ddwylaw di
A ddysgwyd i ryfela fel nad oes
Un gelyn saif o flaen d' orthrechol fraich.
Ein llygaid ddallwyd ynom er ys talm,
Na welem Dduw yn dangos ini 'r gwr
Neullduid ganddo i wasanaeth mawr.
Sibrydid gan gyfeillion ar y ffordd,

Neu yn nghynteddau'r cyssegr, fod rhyw un
Yn eneiniedig gan y Proffwyd doeth
Yn nhir Ephratah, ac fod ysbryd Duw
Yn aros arno, fel yn Horeb gynt
Ar feddwl Moses unig, gan ei wneyd
Yn addas i waredu'r genedl flin.
Ein clustiau glywsant am ragorion derch
Mab Jesse'r Bethlehemiad, ac fod Duw
Yn llwyddo'r llanc uwchlaw'r pennaethiaid oll.
Pwy ond efe lonyddai 'r ysbryd drwg
Ysgydwai galon Saul mewn braw a bâr,
Gan rwygo'i fynwes â chreulonaf lid ?
Yn mhob dillynfoes a dawnwychedd pur
Pwy geid yn llys y brenin fel efe ?
Ai ni ddywedai'r cenfigenus dad
Yn Israel wrth ei feibion, gwelwch ef,
Gwnewch fel y gwelwch, a bydd i chwi lwydd.
Ac oni chofiwn am y lawen floedd
Ymledai'n llon oroian dros y wlad
Hyd Leban goediog yn y gogledd pell,
Am fuddygoliaeth arwr ieuanc Duw
Ar gawr Philistia ? ond hwyrfrydig oedd
Ein calon i gydnabod mai yr hwn
Orchfygai ein gelynion ar bob llaw,
Gan godi beunydd uwch cynllwynion dig,
Oedd dewis dyn y nef i roi i ni
Ein llawn ogoniant, ac o dywell nos
I'n harwain i oleuni heddwch llad,
A gwenau'r nefoedd ar ein cyssegr fyth.

Ein dellni a symudwyd : heddyw mae
Ein llygaid eto'n canfod ffyrdd ein Duw.
Gwregysa'th hun i'r gwaith a roddes nef
It' i'w gyflawni pan eneiniwyd di."
Ar hyn dystewai, tra'r oedd murmur mân
Y dewrion astud yn cyd-dystio'n rhwydd
A'r hyn ddywedid ; a'r tywysog oedd
Yn sefyll yn fyfyriol ac heb air :
Dysgwylient wrtho, yntau safai'n fud.
Ond mab Jehoiada ddynesai'n mlaen,
A phrudd-der dwys yn llanw'i fywiog drem,
A'i law yn gwasgu'n dŷn am garn ei gledd.
Dywedai, "O na roddid im' yn awr
Ryw eiriau cymhwys i fynegu'n llawn
Deimladau'm calon. Gwyddost, Flaenor cu,
Mor drwm yw'r baich sy'n gwasgu'r genedl wan
Fel mynydd ar ei mynwes, ac mor ddwys
Ddysgwylia'n henaid am d'amddiffyn hoff.
Duw roddodd iti'r hawl, ac wele ni
Yn barod hyd at farw er dy fwyn.
Ond ti nis myni, ond bod yma'n nghudd,
Ar ffo rhag brad a gormes, tra mae Duw
Yn llais dy ddewrion, ac yn newydd lais
Ei lân offeiriad yn dy alw di
I wared Israel ac i ddial cam."
Atebai Dafydd weithian, "O mor gu
Yw cydymdeimlad fy nghyfeillion hoff!
Yn nghanol ing a phryder cofio wnaf
Eich cariad ataf, ac er crwydro'n drist,

A'm heinioes mewn enbydrwydd nos a dydd,
A chael fy hela fel anifail gwyllt,
Ymnerthu wnaf yn eich anwyldeb chwi,
Gan ddysgwyl wrth fy Nuw, yr Hwn a farn
Rhwng y dieuog a'i erlidwyr fyth.
Ar lech fy nghalon, fel â phin o ddur,
Mae'n 'sgrifenedig holl drueni 'm gwlad.
Gwn fod yr Arglwydd wedi edrych lawr
O'i orsedd fry uwchlaw y nefoedd oll
Ar waelder ac iselder dwfn ei was,
A'm galw i oddiwrth y praidd i fod
Yn gennad llwydd i'w ethol bobl ei hun.
Yr olew santaidd, ar fy mhen yn llanc,
Oedd arsel im', fod dymuniadau 'm bron
Am heddwch Israel a'i gogoniant llawn
Yn gymmeradwy gan yr Ysbryd oedd
Yn gweithio ynof trwy ddylanwad pur.
Gwn fod y nefoedd yn oleuni i ni,
Ac mai mewn gwên drugarog mae ein Duw
Yn edrych eto i'n dyfodol lwydd.
Ond heddyw cosbir ein pechodau hir,
A'm calon waeda ynof wrth im' wel'd
Y difrod ledodd dros y genedl hen.
Ond os mai trwof fi y myn ein Duw
Waredu ei etifeddiaeth, wele fi,
Er gwan a gostyngedig, ger ei fron,
Yn barod i gyflawnu 'r dwyfol air.
Ond Duw deyrnasa, ac a ddwg ei farn
I fuddygoliaeth wrth ei gynghor Ef.

Ni frysia 'r Hwn a eilw 'r gwanwyn teg
O feddau 'r gauaf allan yn ei rwysg,
Ac a ddirwyna'r blwyddau gylch y byd
Fel mentyll ei ogoniant—gydag Ef
Pob amser sydd yn agos, ac mor wir
A'i enw ei Hun, ei fwriad ddaw i ben.
I ni nid oes ond gwrando ac ufyddhau
I'r hyn orch'myno'r Arglwydd Dduw i ni.
Na feiddied dyn ymwthio 'n ffol yn mlaen
I wŷll dyfodiant heb arweiniad Duw!
Ac er mor anhawdd ydyw goddef pwys
Yr adfyd sy'n ein profi, eto rhaid
Yw aros wrth ewyllys ddoeth y nef.
Heb Dduw ni feiddiaf symmud, ond os rhydd
Efe ei wenau ni ddychrynaf byth.
Pe rhodiwn lyn cysgodion angeu 'i hun
Efe 'm gwaredai â'i alluog law.
Aroswn ynte hyd nes dengys Duw
Pa beth a wnawn; a'n duwiol ysbryd oll
Fo 'n rhwymo ein cymdeithas yn ddidor.
Dysgwyliwn, frodyr, wrth yr Arglwydd Dduw!
A thithau, ei offeiriad, bydded hedd
I'th ysbryd trallodedig yn ein mysg!
Gwn mai y nefoedd a'th anfonodd di
I'n cynnorthwyo mewn cyfyngder blin.
A phan orphwysot, gwisg dy ephod lwys
Ger bron yr Arglwydd, ac ymofyn di
A rydd y bobl hyn nyni i law
Y brenin Saul? sychedu mae efe
Mewn llid gorphwyllog am ein gwaed i gyd."

## CANIAD II.

BRESWYLWYR Ceilah gaerog! ar eu pen
Bydd gwarth tragwyddol am eu cynllwyn cas,
I roi i'w elyn eu gwaredydd dewr.
Ond Duw nis mynai—ffyddlawn ydyw Ef—
A thrwy gyfrinol ddysg yr Urim pur
Rhybuddiwyd Dafydd am eu creulawn frad;
A threchwyd ystryw Satan, ond er hyn
Uffernol ddigder yr Archebyn tren
Nid ymlonyddai ddim, ond ceisio wnai
Gynlluniau newydd i'w anniwall lid.
A thra'r Tywysog oedd yn isel fryd
Yn trist resynu heb ddialgar nwyd,
Yr haid anffyddlawn a'i bradychant ef,
Ar awr oleuloer pan ddistewai'r nos
Eisteddodd Satan ar yr uchaf dwr
Yn mur y ddinas, ac a alwodd lu
O'i was-gythreuliaid i gynghorfa ddwys.
A deuynt yno yn hagr finteioedd erch,
Gan lanw'r awyr â gwenwynig dawch.
Y diafol oedd mewn brys, a d'wedai'n ffroch
A llerthedd fel yn fflamio ar ei wedd:
"Gythreuliaid! r'ydych, neu chwi ddylech fod,
Yn hyddysg ddigon fod y genedl hon—
Yr Israel gyndyn hon—yn gofyn mwy
O ofal genym na'r cenedloedd oll.
Yr eang fyd sy'n gorwedd yn ei wae,
Ac nid oes eisiau ond ei adael, bron,

I suddo'n raddol dan ei lygredd trwm.
Ond am y genedl hon, Jehofah wnaeth
Ei nodi iddo'i Hun, i ddwyn i ben
Ei fawr gynlluniau yn ein herbyn ni.
Ac nid oes fesur i'w amynedd pan
Y cymmer arno wrth neb i drugarhau.
Pechodau'r bobl hyn ynt ddigon mawr
I'w damnio yn dragywydd, ond Efe
A'u cosba mewn trugaredd, nid mewn llid.
Gwn mai Efe orchfyga—cariad sydd
Yn drech nag uffern !—nac ysgydwch ben,
Chwi ddiafliaid ffol, mewn anghrediniaeth hurt !
A anghofiasoch frwydr fawr y nef ?
Pa fodd daliasoch, lyfriaid, angerdd fflam
Edrychiad cynta'r Hwn sy'n gariad pur ?
Na, ni rydd pechod obaith ond i'r ffol !
Myfi nis plygaf i'r hudoliaeth wag !
A gweithiaf mewn anobaith fel mewn llwydd,
A th'wyllwch yn fy nghylchu, am fod rhaid
I'm cythreuligrwydd weithio—nid am fod
Ffug obaith ffyliaid yn fy nenu i !
Ond weithian clywch ! Edrychwch ar y wlad
Oddiyma i gedrwydd Leban ! dichon fod
Rhyw obaith fel yr enwais am ein llwydd,
Yn codi yn mynwes ambell gythraul gwan,
Wrth wel'd y difrod sydd ar gynllun Duw.
Yn wir pe na bawn Satan, a phe na
B'ai cryfder ysbryd yn fy nghadw rhag
Ymostwng i siomedig obaith delff,

Braidd na obeithiwn innau gan mor llwyr
Yw'r d'ryswch daenodd dros ddefodau'r tir.
Yw Dagon yma? Cofio mae efe,
Y cythraul llwfr, im' roddi iddo r arch,
Ofnadwy arch cyfammod Duw ei Hun,
O fewn ei deml gynt, pan ddattod wnaeth
Crynedig lwynau 'i hagr ddelw o'i blaen.
A oes rhyw gythraul eto am ei chael
I welwi rhagddi, a gwarthruddo'ch teyrn?
Mae'n aros mewn dinodedd hyd yn hyn;
A'r brenin a'i gynghoriaid sy'n fy llaw,
A thrwy bob rhysedd yn gwrthgilio'n waeth,
Fel nad oes dim i'w ofni odd'wrthynt hwy.
Ond Duw a gododd yn Ephratah un
Sy'n peru pryder imi er ys talm,
Ac hyd yn hyn yn trechu'm dyfais oll.
Arswydo 'r wyf rhag mai efe yw'r gwr
Ordeiniodd Duw i uno'r bobl hyn
Dan gyflawn urddas y ddwyf-lywiaeth bur,
A dwyn i mewn y llwydd addawyd gynt.
Cynlluniau mawrwych y fanylaf ddeddf
A roddodd Moses, sydd heb gael eu dwyn
I sylweddoliad perffaith hyd yn hyn.
Mor fawr y llwyddais gyda'r bobl ffol
I'w harwain ar gyfeiliorn, oes ol oes,
Fel nad oes heddyw ond rhyw eilun gwan
O'r cyssegrfywyd a fwriadodd Duw
I fod yn lwysfraint ei ddewisol hil.
Pa le mae'u teml? a hardd sefydlog wedd

Y ddwyfwasanaeth bortreadai'r ddeddf?
Ai nid yw'r arch heb gartref yn eu plith?
A gweision nef yn ddirmygedig, sy̆n?
A'r glwys ddefodau mewn dinodded oll?
Ni'm dawr pa beth a wnelont cyd y bo
Eu calon genyf—na, ni faliaf fi
Pa faint o ebyrth laddont,—ïe, braidd
Nad ymhyfrydaf yn y gwaedlyd waith,
Ac yn y boen sy'n porthi'm llerthedd ffroch.
Ond gwn fod perygl i'm hawdurdod gref
Yn nghudd dan gyflawniadau sydd mor groes
Eu nodwedd i dirioni Duw at ddyn.
Yr hen addewid a'm dychrynodd gynt,
Pan roddwyd hi gan Dduw yn Eden brudd,
A adnewyddwyd eto dro'n ol tro;
A gwn fod hono'n gydblethedig trwy
Y defion hyn mewn rhyw ddirgelaidd fodd.
Y deyrnwialen sydd yn Judah i fod,
Ac aros heb ymadael hyd nes daw
Y Shiloh addawedig. Wrth grynhoi
A phwyso'n fanwl y crybwyllion hyn,
Chwi welwch nad wyf wedi troi yn llwfr
Wrth roddi lle i'r pryder sy'n dargnoi
Fy nghalon am yr arwr ieuanc hwn
Sy'n llanw Israel â'i dduwiolfryd lwydd.
O wreiddyn Jesse mae, ac os efe
A godir i r frenhiniaeth, ofni'r wyf
Na 'medy'r hawl o Judah nes y daw
Y Shiloh i'n gorchfygu"—Gyda hyn,

Uffernol nwyd y llu ymdorai'n wyllt
Trwy bob astudrwydd mewn ysgrechain erch
A chynddeiriogwyllt gabledd, nes oedd safn
Pob cythraul yn ewynu gwenwyn gwyrdd
A phob llysnafedd ffiaidd yn ei far.
A'r cythrwfl erchyll a ymruai'n fwy
Nes boddi'r cabledd yn ei swn ei hun.
Ymhyrddient draws eu gilydd yn eu llid,
Y cryf yn rhwygo'r gwan fel teigrod erch
Yn neidio ar ysglyfaeth: llyfriaid oedd
Yn cilio gan felldithio i lechu'n mhell,
A'r lleill ymgreinient mewn cynddaredd ffroch
Gan larpio'u gilydd, hyd nes oedd eu nerth
Yn methu ynddynt. Trwy'r ymffrwydriad hwn
Eisteddai Satan yn ddigyffro ei hun,
A gwen uffernol ar ei wyneb du.
Trefnasai'i araeth er cyrhaeddyd hyn,
Ac aros wnai hyd nes i fethiant llwyr
Derfynu'r dadwrdd—yna aeth yn mlaen:
"Nid rhaid eich cymhell i wrthweithio hyn,
Can's diafliaid ydych, ond rhaid gweithio'n ddoeth—
Nid pob diafleiddiwch delffaidd wna y tro!
Na, myn Gehenna! nid rhyw elyn bach
Yw hwn sydd genym i'w orthrechu'n awr.
Rhaid bod ein cynllwyn yn ystrywgar, dwfn,
Ac â'r amgylchiad yn cyd-daro o hyd.
Nid hawdd yw llethu'r llanc! Ymdrechais i
Er pan ei gwelais gyntaf i roi pen
I'w rwysg fygythiol, ond ei dynged sydd

Hyd yma'n drech na mi, ac ofni'r wyf
Fod llurig annhraidd cariad Duw o'i gylch.
Y llew a'r arth, ac anferth gawrddyn Gath,
A drechwyd ganddo trwy ryw ryfedd nerth;
A'r teyrn penchwiban, wrth f'ewyllys i,
Ergydiodd ato ddwywaith, ond ymdroi
Wnai'r waewffon rhagddo, fel pe na bai Saul
Ond drel anfedrus heb annelu arf.
Hud-ddenwyd ef ar draws peryglon fyrdd
Yn nghanol gwrdd elynion, er cael hawl
I ferch y brenin—siomwyd ef yn hyn—
Difuddiwyd ef o'r hon ennillsai 'n ddrud,
A rhoddwyd hi i arall, er cael gwres
Ei galon serchog i wreichioni llid,
A'i dwyllo i wrthryfel yn ei nwyd,
A chroesi 'r nefoedd, a difreinnio 'i hun.
Ond na! ni thyciai dim! y llew a'r oen
Gydgwrddant yn ei natur ryfedd ef!
Y Geilah hon rhag ei gelynion cryf
Waredwyd ganddo, ac mae'n awr o'i mewn.
Y dorf anniolch lithiwyd genyf fi
I ymfoddloni i'w fradychu ef
I'w elyn Saul; ond eto trechir hyn:
Duw a'i rhybuddiodd trwy 'r offeiriad llwfr
A redodd am ymgeledd ato—ond
Nid anobeithiwn ddim—rhaid gwneyd ein brad
Yn fwy dichellgar eto nes ei ddal,
A'i ddwyn mewn buddygoliaeth ini 'n gaeth.
Fel hyn y gweithiwn: pan y clywo 'i lu

Am fradus fwriad y trigolion ffol,
Cynhyrfa llid y dewrion, nes bo'i fflam
Yn ysu pob hybwylledd rhag ei blaen,
Nes peru iddynt i ddyfetha pawb
Mewn dialeddus nwyd, ac felly ceir
Sail dinystr Dafydd yn y dinystr hwn.
Os methu wnawn—ac nid gorffyddiog wyf,
Oblegid ei wladgarwch sydd yn drech
Na grym pob cythrudd a gynhyrfo'i fron—
Rhaid ini ddilyn wrtho gam a cham,
Gan ddal pob cyfle gyda ffalsedd chwim,
Nes caffom mewn rhyw fodd ei ben i lawr.
Trwy gyfrwys ofal pob peth ellir droi
Yn bleidiol i'n dichellwaith, malais Saul,
Cenfigen y penaethiaid, ïe, serch
Y rhai a'i carant, gobaith, ofn,
Ac hyd yn nod ei fwynder serchlawn ef,
A allant oll hyrwyddo'n hamcan ni.
Ond byddwch wyliadwrus, ddiafliaid dig,
A chofiwch nad cynddaredd drelaidd, ffol,
Fel a'ch cynhyrfodd gynnau, sydd i fod
Yn reol at y gorchwyl anhawdd hwn.
Ond weithian at y dewrion!—gwnaed pob un
Ei waith i ateb i'm ymholiad i."
Ar hyn y fintai giliodd—llidus drem
Eu teyrn ofnadwy a'u brawychodd oll,
Nes aeth pob un yn ddistaw at ei waith.
Arosodd Satan mewn myfyrdod hir
Hyd nes i'r gwyll deneuo—yna ffodd

Mewn cwmwl tywyll dros y ddinas daw
I ddisgwyl ei gyfleusdra. Erbyn hyn
Y nos ymgiliai, ac o'r dwyrain gain,
Yr aurborfforwisg wawr estynai 'i phen
Trwy ffenestr lydan nef, gan drwsio 'i hun
A gwridog wenau, wrth ddysglaerwawl ddrych
Y perlawg darth ymledai 'n wyn o'i blaen.
Y ddinas hunai 'n ddistaw, ac o'i chylch
Y niwl goleugŵr ledai megis gwisg.
Ond yn ddisymmwth dyna hirllais floedd
Yr udgorn clir yn galw pawb o'u cwsg,
Ac yn dychrynu 'r ednod yn eu cân.
Ar dŵr y safai yr udganwr cryf,
A'i loewgorn yn ei law, a chydag ef
Y Tywysog a'r offeiriad—dysgwyl wnaent
Y llu i ymgasglu wrth y wysiol sain.
Yn fuan deuai 'r dewrion, un ac un,
Gan frysio a gwisgo 'u harfau ar y ffordd.
Yn flaenaf gwelid Joab, ond ei frawd
Asahel ddeuai ar ysgafndroed ffrwst,
Gan redeg heibio iddo tra 'r oedd ef
Yn bychu ei lurig wrth ei ysgwydd dal.
Abishai ddeuai ar ei ol yn chim,
Benaia ac Adino, a chyda hwy
Holl ddewrion Dafydd yn frwdfrydig lu.
Annerchai 'r Blaenor hwynt â golwg brudd:
"Gyfeillion, gwysais chwi o'ch melys gwsg
I glywed eto am ein perygl ni.
Lle byddo Dafydd, perygl ddaw o hyd.

Ac fel yr helir y diniwed hydd
O'i loches dawel gan y gwaedlyd gwn,
A'u helgyfarthiad yn adseinio trwy
Y broydd nes eu llanw â dadwrdd tew,
Ac yntau 'n ofnog am ei einioes fach
Yn ffoi mewn lludded dros y pant a'r bryn,
Gan neidio 'n chimmwth dros beryglon fyrdd,
A chan ddyheu, o'r diwedd yn rhoi llam
I gol y tewlwyn fel am olaf nawdd :
Ond och ! ei noddfa dry yn garchar blin !
Ac yno somiant at anobaith ddaw
I rwygo 'i galon âg angeuol ing ;
Efelly 'r helir fi, ac er im' ffoi
O afael profedigaeth, daw un fwy
I ledu ei maglau o fy amgylch i.
Ond Duw a'm gwared eto o honynt oll.
Nid ofnwyf—Ceidwad Israel yw fy mhorth.
Y Geilah hon waredwyd genym ni ;
A gobaith ledchwennychai roi ei phen
I orphwys ar ddyledus ddiolch llawn
Y bobl hyn achubwyd drwy ein cledd.
Ond anwadalwch sydd yn nghalon dyn :
O'i mewn ni ddaw daioni os na chwyd
Hyd borth y nefoedd i'w argeisio ef.
Yr Arglwydd a'm rhybuddiodd trwy yr hwn
Sy'n gwisgo'r santaidd ephod ger ei fron,
Fod dwfn frawdwriaeth yn ein herbyn ni
Yn llanw'r bobl hyn ddylasent roi
Eu cariad yn amddiffyn drosom byth.

Ar fedr y maent i'm rhoi i greulawn law
Ein gelyn llidiog, ond dadlenwyd brad
Eu bron ddichellgar gan yr Hwn a'n barn.
Nid oes in' mwyach noddfa lle bo trais
Yn cynllwyn yn ein canol—symud raid
Am nodded eto i'r anialwch taw.
Fel yn Adullam cawn y gadarn graig,
A'r rhos ddiarffordd a'r ddu ogof gel
A'r disathr anial a'r ffynonell lon
Yn ffyddlon a chyfeillgar in' o hyd.
Fy newrion, dewch! ymadael raid mewn brys,
Can's brys yn unig a'n gwareda ni."
Ar hyn Adino gadarn nesai 'n mlaen,
A digder fflachiawg yn ei wrol drem.
Moesgrymai i'r Blaenor a dywedai 'n swrth:
"Ni raid i'n T'wysog ffoi! a gaiff yr haid
Lofruddiog hyn ein gyru ni o'r lle
Waredwyd genym â'n cleddyfau glew?
A raid i'r hoff Eneiniog oddef llid
Dichellgar lyfriaid megys plentyn gwan?
Ai trech na ni yw brad, nas gall ond troi
Allweddi cloion er dinystrio 'r dewr?
Un ydwyf fi, ond gad i mi fy hun
Ymddial ar y llyfrgwn, a bydd rhif
Wythcanwr fy nghorchestwaith megis dim
O flaen y dyrfa brofant fin fy nghledd."
Ar hyn dadweinid gloew gleddyfau fil
A chras rugldrystiad, a banchwyfid hwy
Mewn agwrdd fwriad, ac ar chwimmwth naid

Ymruthrai 'r dewrion i'w hymddial mawr.
Y Blaenor synwyd, ond pan welodd ef
Y nwydwyllt ruthriad, gwaeddodd gyda llais
Awdurdod freiniol ar y llu yn ol.
Ond erbyn hyn y blaenaf oent ry bell,
A'u camrau chwim yn profi nerth eu llid.
Amneidiodd i'r udgenydd, ac fel rhuthr
Yr eryr ar ysglyfaeth oedd ei lam
Ar ol y dig ryfelwyr—ewig chwim
Ni frysiai rhagddo yn ei rediad cryf.
Fel ar adenydd âi, nes dal y gwŷr
Oedd olaf yn y rhes, ond gwelid draw
Asahel yn blaenori 'r cyflym lu
A'i gleddyf fel yn estyn yn ei law.
Prysurai 'r Blaenor, tra udganiad chwyrn
Yr udgorn hirllais yn arafu rhawd
Y chwim redegwyr, nes i'w gyflym draed
Orddiwes y blaenorydd, tra 'r oedd un
Yn ffoi 'n grynedig eisoes rhag ei lid.
Mewn urddas archai 'r T'wysog hwynt yn ol,
A hwythau 'n ufydd a'i canlynent ef.
Pan gynnullasant, d'wedai 'n araf drist:
"Nid da, fy newrion, oedd eich bwriad hwn!
I achub galwyd chwi, ac nid i ladd.
Gwerthfawr gan Dduw ei bobl, ac i ni
Nid oes gelyniaeth ond â'i elyn Ef.
Blin drallod ddaw, ond nid o hono 'i hun,
I'n profi 'n fynych, ond yr Hwn a'i rhydd
A ddyry hefyd waredigaeth lawn.

Duw bia 'r dial, ac Efe a farn
Ein gwrthwynebwyr wrth ei gynghor doeth.
I ni ni roddwyd teyrnwialen nef
I dalu'r pwyth i'r euog yn ein llid.
Pa feiddiol law ymeifl yn llosgwrn tân
Y fellten ysol, ac a ddwg dan iau
Daranau'r nefoedd i wasanaeth nwyd?"
Gwrandawai'r gwŷr yn syn, gan blygu pen
O flaen urddasder ei geryddol drem:
Ond Joab nesai'n mlaen, a d'wedai'n ŵyl:
"Maddeued yr Eneiniog os yn ffol
Y bwriadasom heddyw ddial cam.
Ein hysbryd daniwyd ynom fel nad oedd
Rheolaeth genym ar ein ffyrnig ddig.
Ond cynghor ein Tywysog sydd yn ddoeth,
Ei fron yn wastad sydd fel cyssegr Duw.
Yr Arglwydd ddengys iddo'r hyn sydd dda,
A ninnau blygwn i'w orchymyn ef."
Y dewrion oll amlygent ag un llais
Eu cymmeradwyaeth lon i'r geiriau hyn,
A Dafydd dd'wedai mewn tynerwch mawr:
"Ganlynwyr hoff! Fy nagrau fynant roi
Diolwch calon i'ch ffyddlondeb chwi.
Peryglon a'n hamgylchant: cariad all
Fel cas ein drygu, os heb gynghor nef.
Ond dewch, fy newrion, ymadawn ar frys,
A Duw a roddo arnom eto 'i nawdd!
At fryn Hacila mae ein cyrchfa ni."

## Caniad III.

Dystawrwydd cysglyd Ziph oedd fel yn syn
Wrth anghynnefin ddadwrdd llu o'i fewn:
Prysurdeb gynniweiriai'n hyf ar hyd
Y tir gyssegrid gan Lonyddwch hen,
Heb drystiog droed i'w fathru, os ar hynt
Yr heliwr ni ddoi heibio i'r dawel fan,
Neu'r geifr ni lament dros'r ysgythrog graig:
Yr adar unig wnaent yr anial le
Yn artref iddynt, hofient fry uwch ben
Mewn braw petrusol fel ar aden lesg
Wrth wel'd y llu yn hulio'r tawel dir.
Y gwyr brysurent mewn gorchwylion mân,
Pob un yn gweini i'w gyfreidiau'n llon:
Rhai'n trefnu cangau'r gwŷdd yn bebyll, gan
Eu tew orchuddio ag irion, lydain ddail;
A rhai'n coginio'r ymborth—weithiau'n grwm
Yn chwythu'r fflam, gan drefnu'r briwwydd sych;
Rhai'n dychwel draw o'r pydew dan eu llwyth,
A'u llestri'n llawn i ddisychedu'r dorf:
Ond mae'r Eneiniog? Wrtho'i hun yr oedd
Ger neillduedig graig mewn myfyr dwys;
A'i galon yn ymglymu wrth ei wlad,
Nes teimlo'i chlwyfau fel ei glwyfau'i hun.
Dywedai'n araf, "O na ddeuai'r dydd
I Dduw ymwel'd â'i bobl, a rhoddi gwên
Ei lwyddiant eto ar fy nhruan wlad!
Hoff wlad fy nhadau! adgof am a fu,

A rhagwên ysbrydoliaeth am a ddaw
O fewn dy gyrau gwyd fy meddwl gwan.
Ond O! mor bell yw'r olwg arnat sydd,
Oddiwrth hardd gynllun etifeddiaeth Duw!
O'th fewn mae Jebus eto'n gwgu'n falch;
A bryn Jehovah Jireh sydd dan draed
Yr estron annuw a'n difenwa ni.
Y bobl a giliant ar gyfeiliorn pell
Oddiwrth yr Arglwydd; er fod arnynt nod
Cyssegrwydd bwriad Duw, fel talaith aur
Yr archoffeiriad ar ei dalcen ef.
Pa hyd y crwydrwn mewn anialwch blin,
Fel bu ein tadau gynt, cyn dod i mewn
Yn llu banerog i ogoniant llawn
Ein haddawedig dynged? O Tydi
A doraist iau'r Midianiaid yn dy nerth,
Pan oedd Gedeon gyda chleddyf Duw
Yn arwain buddugoliaeth dros y tir,
Ymostwng eto i'n gwaredu ni!
Pa le yr edrych gobaith dinerth dyn
Ond atat Ti, yr Hwn a drugarhei?
Pa bryd daw dydd dy iechydwriaeth fawr,
Pan gyfyd dy ogoniant ar y byd
Fel llewyrch haul digwmwl, a phan ddaw
Addewid dy drugaredd rad i ben?
O Dduw! pwy sydd ddigonol i dy fawrwaith Di?
Oddiwrth y praidd yn Ephrath dawel, hoff,
Y gelwaist fi, ac wele finnau'n ŵyl
Yn dysgwyl mewn cyfyngder wrth dy air;

Ond O! pa beth a all y plyfyn gwan
Yn erbyn nerth y dymhestl sydd mewn llid,
'N ei yru heb orphwysfa rhag ei blaen?
Fel crwydriad wyf, a dyeithr yn fy ngwlad;
A pherygl yn fy nilyn gam a cham:
Gelynion dig a'm ceisiant, a phob llwybr
Sy'n amgauedig gan eu maglau cudd.
Dy gynghor Di sydd ddoeth, ond O! fy Nuw!
A gaiff fy ngwendid i arafu'r gwaith
A fyni ei wneuthur dros dy bobl dy hun?"
  Fel hyn ymsoniai; ond rhyw laslanc teg
Gyrhaeddai'r gwersyll gyda'r newydd fod
Jonathan yn dynesu ar ymweliad cel
A'r hoff Eneiniog: rhedai'r llu ynghyd
I wybod beth oedd ganddo, gan grynhoi
Yn dorf wasgedig ac ymholi'n ddwys,
Pa gennadwri ddygai, ond Joab chwim
A redai at y Blaenor, gan ei wneyd
Yn hysbys o'r ymweliad dedwydd hwn.
Ar hyn cyfodai Dafydd, tra ei wedd
Yn llon belydru gan ddedwyddwch claer
Ei fron, wrth frysio i gyfarfod un
A garai fel ei einioes: gydag ef
Gwahoddai Joab a Benaiah ddoeth.
Ond er prysuro, nid yn neppell aent
Pan ddeuai Jonathan i'w cyfarfod hwynt,
A thri o'i weision yn ei ganlyn ef.
Y ddau dywysog ymgofleidient, gan
Gymmysgu eu dagrau o lawenydd pur.

O! fel y chwyddai'u bron gan gariad mwy
Na chariad brodyr, tra'n ymglymu'n dyn
Mewn hir gofleidiad, heb na gair na gwên,
Ond ymhyfrydu yn llonyddwch serch.
O'r diwedd d'wedai Dafydd, "O fy mrawd,
Ti ddaethost i'm hadfywio â dy wedd.
Hiraethu bum am danat fel mae'r nos
Yn dysgwyl am y boreu, ac O! mor drwm
Yw baich fy nhrallod heb dy wyneb di!
Rhy wan wyf dano, methu mae fy nerth.
Ond Duw a'm cymhorth â'i drugaredd Ef."
Atebai mab y Brenin, "Na thristâ,
Eneiniog Duw, dy lwyddiant ddaw i ti
Fel haul boreuddydd gan lewyrchu 'n deg,
Nes lloni 'r ddaiar â'i ddigwmwl wên.
Ni thycia dy elynion; ymladd wnânt
A'r Hwn sydd drech na hwy: ein Duw a rydd
Deyrnwialen Israel yn dy law, fy mrawd:
A chadarnhaed dy goron iti byth!"
Chwanegai Dafydd, "Serch fy nghalon dd'wed,
O na fai Jonathan yn fy lle i gael,
Yr hyn mae 'i gariad yn ddymuno i'w was!
Ond Duw sydd frenin; brodyr ydym ni,
A gweision i'r Goruchaf: wrth ei air
Y trefna ni i weithio ger ei fron—
Pob un yn ol ei briod waith ei hun.
Ymostwng wnaf i uchel alwad nef
Mewn ofn a gwylder; ond O! bydded serch
Fy Jonathan hoff i wenu ar fy llwybr,

A lloni 'm hysbryd â'i gynhesrwydd byth!
Fy nhynged sydd yn llaw yr Hwn a ŵyr
Nad oes hunangais ynof, ac mai pur
Oddiwrth bob dichell yw fy nghalon wan.
Dieuog wyf gerbron f'erlidwyr dig,
Y rhai 'n ddiachos a'm casânt, gan ddwyn
Cyfyngder arnaf i'm dyfetha 'n llwyr.
O! na ddadleuai Duw fy nadl i mi!
Ac O! na welai 'm brenin nad oes brad
Yn llechu yn y fynwes sydd o hyd
Yn meithrin cariad at Eneiniog nef!
Fy nerth a ballai; gwywai 'm beiddiog law,
A'm hysbryd welwai gan ddychryndod chwith,
Pe trigai ynof rith maleisus nwyd
Yn erbyn llywydd etifeddiaeth Duw!
Doeth yw yr Hwn sy'n trefnu'n hachos ni;
Ac nid trwy gamwedd, ond trwy gynghor pur
Ei fawr ddoethineb, dwg ei waith i ben."
  Atebai Jonathan, "Fy nghalon sydd
Trwy gyfrwng serch yn teimlo 'th galon di.
A gwn mai purdeb all yn unig fyw
O fewn y fron sy'n gyssegr cariad pur
Fel cariad Dafydd; ond fy nhad nid all
Adnabod cariad, am mai sych o'i fewn
Yw hen ffynonell serch ei fynwes ef;
A chariad ond i gariad sydd yn gel.
O Saul gariadus! p'odd y syrthiaist ti
Oddiar orseddfa dy serchogrwydd mwyn?
Pa elyn sy'n dy rwydo fel nad oes

Diangfa iti o'i afaelion cryf?
Fy nhad! fy nhad! mor drwm yw'r gofid sydd
Yn suddo'm henaid yn dy ddinystr di!
O'th gylch mae aflwydd yn cydgasglu nerth
Ei holl fyddinoedd i'th orthrechu'n llwyr,
Am iti adu'r Hwn a'th wnaeth yn ben
I Israel fel y gwasanaethit Ef.
Ac am halogi dy gyssegriad di
A gwŷn hunangais, gwelaf law ein Duw
Yn cipio 'th goron, ac yn codi un
I'w gwisgo mewn uniondeb ger ei fron.
Nac ofna, Ddafydd; Duw a'th alwodd di
I ddwyn i'w bobl iechydwriaeth fawr.
Ac er ymfrwydro o serch y galon fau,
Ymloni wnaf wrth ragaddawol lwydd
Dy deyrnas santaidd: ac O! bydded swyn
Ein hen anwyldeb yn hoff wystl i mi
O'th ffafr pan ddelo dydd cyflawniad Duw!
Oddiwrth fy nhad na ddysgwyl onid cam.
Drwg ysbryd sy'n meddiannu ei enaid blin:
Bydd dyner wrtho ac ymgadw o'i ffordd,
A Duw a'th lwydda 'nol fy serch i ti.
Fy mrawd, ymadael raid: ond O! mae nos
O brudd-der tywyll yn amgau o'm cylch!
Ond gwelaf wawr, a Dafydd yw ei haul.
Pa le mae Jonathan? Nis gwelaf ef
Ar gylch ysblander y dyfodiant gwych:
Ei lewyrch bylodd; ond pa waeth am hyn,
Tra gesyd serch ef byth dan wen ei haul?

Yn iach fy nghyfaill! Dagrau nid y'nt ddim
Ond cyssegr-olew serch; am hyny, wŷr,
Na synwch chwi wrth yr eneiniad hwn."
Dystawent oll, a Dafydd safai 'n fud.
Uchelnaws serch sydd uwch na dynol iaith
Tawdd geiriau i ddagrau dan ei boethder ef;
A dagrau'n unig a lefarent 'n awr,
Tra 'r ydoedd cariad yn difuddio 'r llais.
Ond weithian d'wedai Dafydd, "Rhodded Duw
I'm allu profi serch y fynwes hon
At Jonathan, fy mrawd, a'm diolch llawn
Am dirion nodded ei anwyldeb ef!"
Ar hyn ymddadrys wnai 'r cyfeillion cu
O rwymau 'u hoff gymdeithas: perygl oedd
Yn bwgwth arnynt o'u harosiad hir;
A mab y brenin gyda llawer trem
O fad ddymuniad ac o obaith hoff,
A chyfarchiadau serchlawn ganai 'n iach
I'r hwn a garai, gan brysuro i'w daith.
Ni syflai Dafydd: syllu wnai o hyd
Mewn hiraeth dwysfryd ar ei gyfaill mad
Nes pallu o'i olwg; yna trodd yn drist
I ddychwel eto i'r gwersyll at ei wŷr.
Digalon oedd, a'i ysbryd ynddo'n llesg;
Ac ofnau 'n gwasgu ei enaid hyd y llwch.
Ymgiliodd eto i'w unigedd prudd
I geisio nerth a chyfarwyddyd Duw.
Ei galon dd'wedai, "Arglwydd, cymhorth fi!
Dy ffordd a hoffais, a'th orchymyn glân

Sydd beunydd ger fy mron ; ond O ! mae llu
Fy rhwystrau cyndyn yn brawychu'm ffydd.
Gelyniaeth fy nghaseion nid yw ddim
Yn ymyl nerth y cariad sydd yn d'weyd
Yn ddystaw wrth fy nghalon, " Cofia'r hwn
Sydd anwyl genyt : gwel ei fwynder ef !
A allaf fi, fy Nuw, ymgrymu'n ŵyl,
A deisyf yn grynedig ger dy fron,
O caffed Jonathan dy fendith fawr !
A boed i minnau 'i wasanaethu ef,
Dan nawdd dy gynghor a'th ewyllys Di,
A gwel'd dy iechawdwriaeth trwyddo'n dod
Fel haf-ddydd ar dy etifeddiaeth ! Serch
Ei galon ef ni chofia les ei hun :
Ond mi a'i caraf, a'i anwyldeb sydd
Yn llethu'm hysbryd nes bo'm nerth yn wan.
Ni feiddiaf ond i Dduw gyflwyno'm cwyn,
Ac O ! fy Arglwydd, cofia Jonathan hoff !
A dangos imi lwybr dy gyfraith Di !"
  Fel hyn gweddiai, tra'r oedd angerdd dwys
Ei groes-deimladau yn cynhyrfu 'i fron.
Ond dangosasai Duw i'w Broffwyd hen
Y brofedigaeth ddeuai yn ei grym
Yn erbyn yr Eneiniog trwy ei serch
At fab y brenin ; ac yn awr mewn pryd
Y proffwyd Gad a ddeuai'n gennad llad
Oddiwrth yr athraw ato : llamu wnaeth
Y T'wysog i'w roesawu'n llon ei wedd ;
A'i fron mewn diolch deimlai ofal Duw ;

A chyda brys gofynai iddo'n fwyn,
"Ai oddiwrth Samuel y daethost ti?"
  Atebai Gad, "Oddiwrth y proffwyd myg
Y daethym echdoe pan oedd santaidd nwyf
Ei weddi hwyrol heb lonyddu o'i fewn.
Ond O Dywysog, gwlith hwyr einioes sydd
Yn disgyn arno, ac agos yw y nos.
Gwawl uwch-ddaearol sydd o gylch ei ben,
Adlewyrch edyn engyl yn crynhoi
I'w gludo adref: O mae'i fwynaidd drem
Fel pelydr o oleuni'r nef ei hun.
Gogoniant ei symudiad sydd o'i gylch,
Fel claerder machlud haul: ond ennyd sydd
Ac wele cilia'n llwyr o'n golwg ni."
  Synwylai Dafydd gan ddyweyd yn drist,
"Fy nhad! pa beth wnawn heb dy gynghor doeth?
Ai ni ddaw'th air i'n cyfarwyddo mwy?"
  Atebai Gad, "Gorchymyn wnaeth i mi
Gyflwyno i'r Eneiniog gariad pur
Ei galon lawn, a'r gennadwri hon,
Gan erchi imi ddal ei eiriau dwys:
Fel hyn y dywed wrthyt trwof fi:
'O hoff Eneiniog nef! Boed bendith lawn
Yr Hwn a'th alwodd ar dy ben di byth!
Fy ymdaith i sy'n tynu at ei nod;
Fy ngwaith orphenwyd; ar dy ysgwydd di
Y treigla Duw y baich a ddygais cyd.
Tydi, nid arall, sydd i ddwyn i mewn
Y waredigaeth rydd yr Arglwydd Dduw.

Nac ofna, na ddiffygia ; nid trwy lu
Ac nid trwy nerth, ond trwy ei Yspryd Ef
Y gwna ein Duw ei fawrwaith yn y byd.
Saul a eneiniais, a gobeithiais fod
Yr Arglwydd trwyddo ar waredu ei blant.
Ond ofer oedd eu cais, a chwerw y gosb
Ddaeth arnynt am wrthgilio oddiwrth yr Hwn
A geidw eu breniniaeth yn ei law.
Ymddiried wnaent mewn dyn ; ac wele 'r gwr
Oedd dalaf yn eu plith yn rhoddi som
I'w disgwyliadau balch, ac heddyw maent
Yn trist hiraethu am eu cyssegr glwys.
Ond Duw a geidw ei amcanion fyth ;
Ac ethol Dafydd wnaeth i rodio yn ol
Ei gynghor santaidd, ac i ddwyn i mewn
Yr addawedig lwydd i'r genedl flin.
Dysgwylied d'enaid wrth yr Arglwydd Dduw:
Efe a'th gyfarwydda yn dy ffordd,
Gan roddi llwyddiant ar dy lwybr o hyd.
Ond na lwfrhaed dy galon ger ei fron,
Ac na wrthgeisia'i ddoeth ewyllys ef.
Ni chyfnewidia Duw; Ei gynghor sydd
Er tragwyddoldeb yn berffeithlawn oll.
Y gorddysglaerder sydd o'i amgylch Ef,
Ac fel tywyllwch yw i lygad dyn:
Ond trwy y claergylch daw daioni fyth
Fel rhyw belydryn o oleuni haul.
Ymnertha yn dy Dduw, a dal yn dyn
Ragorfraint dy eneiniad: santaidd wyt,

A santaidd yw'r cyssegriad arnat sydd.
Yr ysbryd a'th hyffordda eto'n fwy,
Gan ddangos mawredd dy ddanfoniad di,
A rhoi goleuni ar fwriadau'r nef.
Ond mi nis gwelaf dy gyflawnder di:
Mal gwelai Moses oddiar Pisgah gynt
Yr addawedig wlad, nas caffai ef
Fynediad iddi—ei gwahoddawl wedd,
A'i dymunoldeb pur, efelly'n awr
Rhydd Duw i minnau i weled euraidd gylch
Yr etifeddiaeth orwemp ddaw i'w blant:
Ac ni chaf fi ond llawenhau o bell
Wrth degwch ei gogoniant; ond i ti,
Fel Joshua ddewr, y rhoddes Duw y gwaith
O arwain Israel trwy'r Iorddonen hon,
A dangos iddynt lawnder gwych eu rhan.
Yn iach, fy mab! yr Arglwydd fydd dy borth!"

---

## Caniad IV.

Cur ar ol cur ddirwasgai dyner fron
Yr hoff Eneiniog: dialeddol nwyd,
Cenfigen ŵyrdrem, a gochelgar frad
Gynllwynent gylch ei lwybrau yn gytun:
Ac er ymgilio o un, rhyw berygl mwy
Arosai i'w erch fygwth yn mhob man.
Ond Duw a'i cadwai, gan ei arwain ef
Dan gysgod ei amddiffyn trwyddynt oll.
O Ziph i Maon ac Engedi gadr,

Lle rhoddes Duw ei elyn yn ei law,
I brofi mwynder ei annichell fron,
Y dewr arweiniai 'i lu, ac eto ymlaen
I Paran bell a'i chreigiau tawel, swrth,
A hunent mewn unigedd yn eu nerth.
Ond serch ei fynwes nis gadawai ef
I grwydro'n hir oddiwrth lanerchau hoff
Ei hen gynnefin wlad, a dychwel wnai
Mewn hoffder at y manau garai gynt.
I Ziph y deuni eilwaith, ond nid oedd
Gorphwysder iddo tra'r oedd diflin lid
Archelyn Duw yn casglu nerthoedd brad
I bobman i'w gyfarfod; ac yn awr
Ar fryn Hacila safai T'wysog hoff,
Tra'r oedd mynteioedd Saul yn casglu o gylch,
A'r brenin llidus yn dyheu am waed.
Yn araf deuai'r nos gan ledu ei llen
O d'wyllwch didrwst dros yr eang wlad;
A'r brenin sarug a orch'mynai i'w lu
Gadwylio o gylch y fan fel pan ddoi 'r wawr,
Y gallai mewn creuloni ddal y gwr
A ofnai, a ryfeddai, a gasâi mor ddwfn.
Ychydig wyddai fod y T'wysog dewr
Yn hyddysg o'i gynlluniau, ac yn troi
Ei fradus fwriad i ffolineb chwith.
Ymgasglai dewrion Dafydd gylch eu Llyw,
Gan feddwl cael o'r diwedd ganiatâd
I lwyr ddifetha'r gelyn oedd mewn magl
Yn gorwedd ger eu bron; a Joab hyf

Ddeisyfai arno, gan ddyweyd yn daer,
"Eneiniog hoff! Yr Arglwydd roddodd Saul
A'i lu annhrugar heddyw yn ein llaw:
Cadwylio maent, ond yn flinedig, swrth;
A daw anochel gwsg i'w suo hwynt
I ddifraw huno mewn gorffyddiog lwydd.
Oddiar y mynydd hwn y gallwn oll
Ymosod arnynt a'u distrywio 'n llwyr.
Trwy gyfyngderau fil arweiniaist ni,
Tra'r oedd gelynion yn amgylchu 'n llwybr.
Ond buddygoliaeth roddodd Duw i'w was;
A'r awr a ddaeth i daro 'r gelyn ffrom,
Fel gwnaeth Gedeon â'r Midianiaid gynt."
Ond Dafydd a'i hatebai, "Joab ddewr,
Ni wyddost beth a geisi; nid nyni,
Ond Duw a ddial: ei Eneiniog Ef
Yw 'r hwn y mynet â llofruddiog law
Ei gospi yn dy ddigder."
                    Somiant prudd
Gymylai wedd y dewrion gyda hyn;
A hir ddystewent; ond Benaiah ddoeth
Anturiai eto i amlygu 'n ŵyl
Eu cyd-ddymuniad, gan ddyweyd mewn parch,
"Na ddigied ein Tywysog: gwyddom oll
Fod Duw yn rhoddi i'w Eneiniog hoff
Ddoethineb uwch na ni: ond rhynged bodd
I'n Blaenor eto i wrandaw: gall fod llais
Yr Arglwydd atat yn nymuniad llawn
Y llu brwdfrydig sydd am ddial cam.

Cof genym am y cas Garmeliad drel
A feiddiodd yn ei falchder dy sarhau,
A'r modd y rhoddaist ini ganiatad
I ddial unwaith ar dy elyn di.
Ai nid daioni ddaeth i ti o hyn?
Y fwynaidd Abigail a'i thegwch prid,
A'i thyner gariad, roddwyd megys gwystl
O gymmeradwyaeth ar d' awdurdod gref.
Pa beth yw cymmwynasau 'th serch i Saul?
Ai nid cyfnerthoedd ynt i adgryfhau
Ei hen elyniaeth a'i ddichellgar nwyd?
Beth dâl it' heddyw dy fawrfrydedd myg
Yn arbed yn Engedi 'th elyn balch,
Pan roddodd Duw ei einioes yn dy law?
A gyfnewidiodd Saul? A leddfodd dim
O'r llid cynddeiriog sy 'n cynhyrfu 'i fron?
Os yw 'n Eneiniog, onid arnat ti
Y rhoddwyd olew argyssegriad Duw
Yn lle yr hwn wrthodwyd am ei fai?
Na ommedd ini ddal y fantais fawr,
A roddodd Duw i ti y noson hon.
Os llwyddo wnaethom i gael dwfr i ti,
Er llu 'r Philistiaid cedyrn hyny gynt,
O bydew Bethlehem hoff, er mwyn ein serch
I eneiniedig Duw, efelly 'n awr
Y rhydd yr Arglwydd yn ein llaw yn rhwydd
Y gelyn a ofnasom: dwed y gair!"
Atebai Dafydd gyda phrudd-der dwys,
"Fy newr ffyddloniaid, serch a'ch dallodd chwi!

A thi Benaiah, wyt fel un o'r lleill.
Abigail brydferth roddwyd imi 'n wystl,
Nid o greulondeb, ond o ofal Duw
Yr Hwn a'm cadwodd rhag y weithred ffol
Fwriedais mewn byrbwylldra, pan oedd glaf
Fy nghalon am anwiredd dwfn y wlad.
Tosturi roddodd imi Abigail fwyn,
Ac nid ymddial: gwelaf yn ei gwedd
Ddeisyfiad cariad dros y caeth a'r gwan.
Na, na, Benaiah, os yr enaint glwys
Arwyddai imi fawrwaith dros fy Nuw,
Nid gwaith ymddial ond achubiaeth oedd.
Nid er mwyn Dafydd nac er mwyn ei lu,
Ond er ei enw ei Hun, y nertha Duw
Ein braich annheilwng dros y genedl flin.
Ein Duw a'n pia, ac ei ddeddf sy'r un:
Nid trwy anwiredd y perffeithia Efe
Yr hyn a ewyllysia: llawnder byd
Sydd yn Ei law; ac mewn cyfiawnder pur
Y cwblha Ei waith: dysgwyliwn ni
Wrth ei orchymyn, a dilynwn Ef!
O Saul ardderchog! truan yn dy nerth!
Mor gryf yw'r maglau sy'n dy ddal yn gaeth!
Nid llaw dy was a gyfyd byth i roi
Y ddyrnod a'th orthrecha: ond gwae di!
Dy draha'th hun a'th ddeil a dinystr swrth!"
 Benhaiah nid atebodd; a phob un
Oedd fud gerbron gorch'mynol dremiad dwys
Y Blaenor mawrfryd, nes chwanegodd ef:

"Fy newrion, nid am ddim y rhoddes Duw
Y fantais hon i ni: unwaith o'r blaen
O fewn Engedi ddofn y gwnaeth fy llaw
Arbedu'r brenin blin: y noson hon
Dangosaf iddo nad oes brad
Yn llechu dan ein bron: O na fai modd
I'w drechu a'n ffyddlondeb, nes ei ddwyn
I wadu weithian eu anghyfiawn lid.
I wersyll Saul yr af yn nifraw nerth
Uniondeb calon ac amddiffyn Duw;
A phrofaf eto i'r dallnwydus deyrn
Mai caled iddo'n falch yw ymhyfhau
Yn ffromder ei genfigen, a dwyn trais
I ddilyn y dieuog. Heno'r af;
A Duw a'm nertha; Abishai a ddaw
Yn unig gyda mi: dysgwyliwch chwi,
Y rhai a'm hannogasoch heddyw i ddrwg,
O fewn eich gwersyll hyd nes rhoddo Duw
Ddychweliad ini o'r heddymgyrch hon."
Y dewrion nid atebent: dysgwyl wnaent
Mewn haner gobaith eto am ganiatad
I weithio allan eu dymuniad dig.
Ar hyn chwanegai'r Blaenor, "Erchwch chwi
I rai o'r llanciau gyfarchwilio'r maes
Er dal cyfleusdra imi ddwyn i ben
Fy mwriad difrad, mwyn, a phrofi i'm teyrn
Yr eilwaith hon mai ffyddlawn wyf o hyd."
Gwasgarent weithian mewn ufydd-dod prudd,
Tra'r hoff Eneiniog, 'nol ei arfer ef,

A ymneillduai wrtho'i hun i ddal
Cymdeithas felus yn y cudd â'i Dduw.
Yn araf ai y cysglyd oriau'n mlaen;
A'r ser yn huno yn eu gwenau fry,
A'r awel fwyn yn suo'u tawel gwsg,
Tra mewn myfyrdod santaidd aros wnai
Y Blaenor, nes o'r diwedd ato daeth
Benaiah a Joab i'w hysbysu fod
Yr adeg yn ei alw at y gwaith
A chwennychasai er mwyn ei elyn dig.
Cyfodai'n ebrwydd gan wregysu 'i gledd
A galw am Abishai; yna'n hyf
Cychwynent ar eu taith i wersyll Saul.
Ar gylch yr aent nes cyrhaedd prysgwydd tew;
Ac yna'n ddidrwst ar hyd llwybr cudd,
Y brysg ymwthient nes myn'd heibio'n gel
Ragwylwyr y gelynion: llaesu wnaent
Gyflymder eu mynediad wrth neshau
At lu y brenin; ond yr Arglwydd Dduw
Roddasai ar y gwŷr anorfod gwsg:
A huno'n dawel wnai y gwersyll oll.
Rhyfelwyr cedyrn yn ngwanoleu'r ser
A welid ar y llawr yn cysgu'n drwm,
A'u harfau wrth eu hochr yn ddinerth, rhydd.
Y Blaenor ac Abishai heibio aent
A threm ochelgar nes o'r diwedd ddod
Yn araf at y fan lle'r hunai'r teyrn.
Cauadfrig dderwen a gysgodai'r lle;
A Saul gystuddiol mewn anesmwyth gwsg

Orweddai dani; a'i gad-flaenor dewr,
Y mawrfryd Abner, hunai wrth ei draed.
O! fwyn dosturi lanwai dyner fron
Yr hoff Eneiniog pan yn syllu'n ddwys
Ar wedd y brenin yn ei ddrygnaws gur!
Symmudai Abner, ac Abishai'n wyllt
Ymaflai yn ei gledd; ond parod law
Y Blaenor ar ei fraich lonyddai 'i fryd.
Abishai eto a sisialai'n daer
"Gwel d'elyn yn dy law! O gad i mi
A'm gwaewffon unwaith ei chwyrndaro ef:
Unwaith a geisiaf: Saul ni'th flina mwy!"
  Atebai Dafydd gyda phrudd-der dwys,
"Gwel na ddyfethot ef; ond gwrando fi:
Yr Ysbryd a'm hysbysodd, fel mai byw
Yr Arglwydd Dduw ei ddial ddaw i Saul:
Y dydd sydd agos, digder Duw a'i dal!
Ond tyred 'n awr, a dwg y waewffon hon
A'r llestri gyda thi: y brenin wel
Mai gwerthfawr yw ei einioes gan ei was."
  Dychwelyd wnaent yn araf heibio'r gwŷr,
A Duw a'u cadwai'n ddiogel nes eu dod
Yn ebrwydd allan o'r wersyllfa daw.
  Trwy wyll y boreu clywid peraidd lais
Yr hoff Eneiniog oddiar ael y bryn
Yn llymgeryddu Abner fawr a'i lu
Am esgeuluso'u teyrn, gan eu gwahodd
I gyrchu'r arfau gymmerasai ef
Mewn difrad fwriad tra y cysgent hwy.

Y brenin truan adnabyddai lais
Yr un dieuog erlidiasai cyd;
Ac mewn cywilydd cyfaddefai'n flin
Ei fawr euogrwydd, a rhagorol werth
Yr hwn a'i harbedasai er pob cam
A dderbyniasai o'i greulondeb ef.
O! drymed oedd ei fron, pan droai'n brudd
Gan lwyr gashau ei hun a'i ynfyd waith,
Yn orchfygedig gan ffyddlondeb serch!

---

## Caniad V.

Amalec drechwyd er ei ystryw chwim,
A'r anrhaith ranwyd a diobrin law
Rhwng aml ddinasoedd Judah; Siclag oedd
Ystorfa golud i'r angenus oll:
A'r hoff Eneiniog, er ei drallod maith,
Ymlonai yn y llonder roddodd Duw
Trwy'r waredigaeth hon i'r genedl flin.
I Bethel ac i Jattin yn y de,
Yr anfonasai ei anrhegion mad;
I Siphmoth, Aroer, Jeramêel,
Corasan, Horma, ac i Hebron gu,
A'r holl ddinasoedd; ac o honynt hwy
Y deuai ato gennadwri o serch
A diolchgarwch am ei dirion nawdd.
Yn Siclag wrth y porth y safai ef,
Tra 'r dewrion ddeuent o'u haelionus daith,
Pob blaenor gyda'i wŷr, ac annerch hoff

Y lluoedd wrth ddychwelyd lonai 'i fryd.
Benaiah safai ger ei fron gan ddweyd,
" O Hebron daethym i, ac wele 'r bobl
Anfonant annerch it' o serchlawn barch ;
Ond syn yw ganddynt fod eu T'wysog dewr
Yn llechu yma 'n Siclag bell yn nghudd,
Tra mae 'r Philistiaid yn gorthrechu 'r wlad.
Y merched ganant eto megys gynt,
Ond mewn cwynfanus dôn, " Ardderchog Saul
A lâs ei filoedd, a Thywysog Duw
Ei fyrddiwn o'n gelynion : O ! pa cyd
Na frysia Dafydd i'n gwaredu ni ?
Aeth Saul a Jonathan yn hyf i'r gâd ;
Ond Dafydd nid yw yno a'i gleddyf byw
I daro â dychryn yr estroniaid balch.
Paham yr ymneilldua 'n Siclag draw
Yr hwn eneiniwyd i'n gwaredu ni ?
  Atebai Dafydd i Benaiah ddoeth,
" O fab Jehoiada, fy ysbryd sydd
O'm mewn yn glaf am gyni mawr fy ngwlad !
A thrist wyf hefyd am y trallod sydd
Yn hulio'm llwybrau, gan fy nal yn dŷn
Mewn alldud hiraeth yn y Siclag hon.
Saul anghymmodlawn ni newidia ddim
Er mynych brofion fy ffyddlondeb i,
A'm purdeb difrad ger ei fron erioed.
Ac er i'r Duw a wasanaethwn roi
Ei fwyn amddiffyn drosom yn mhob ing,
Fel nad âi 'n trallod dros ein pen yn lân,

Gorddialeddol serch fy newrion hoff
A'm dygai i berygl beunydd tra 'r oedd Saul
Yn cadw 'r hen elyniaeth, ac yn dwyn
Pob drygfyd arnom i gynhyrfu'ch llid.
Dywedais yn fy nghalon, 'Cariad sydd
Fel cas yn dwyn cyfyngder arnaf: Saul
Yn ddiau a'm dyfetha, os nid trwy drais,
Trwy lidus fwriad fy ffyddloniaid hoff
Gythruddir ganddo'i ddial ar ei fai,
A gwrthryfela'n erbyn cynghor Duw,
Yr Hwn a'm galwodd i'w wasanaeth Ef.'
Y perygl hwn oedd drech na'm gobaith i;
A'ch arwain wnaethym i neillduaeth, hyd
Nes elai'r drygfyd heibio; ond er hyn
Fy nhrallod ni'm gadawodd: Satan sydd
Yn cynllwyn yn fy erbyn yn mhob man.
O! 'r loesion deimlais pan ddaeth gwŷs y teyrn
I ymladd dros yr estron annuw, balch,
Yn erbyn Israel hoff, ie, ofnais fod
Yr Arglwydd yn ein gwrthod am ein bai,
Mor chwerw oedd y gosp a'n daliodd ni;
Ond ei drugaredd ni'm gadawai'n llwyr;
A gwawr ymwared ddaeth o'r tywyllwch du.
Ond dinystr eto gauodd am ein pen;
A Siclag wag oedd ini megys bedd:
Ond erbyn heddyw torwyd rheibus nerth
Amalec greulawn; a'n hanwyliaid sydd
Yn gwenu eto ar ein llwyddiant ni.
O Dduw y daeth y waredigaeth hon;

A'i fawr drugaredd yw ein melus gân.
Ond d'wed pa fodd mae'r genedl flin yn awr?
A ydyw Irael hoff yn plygu pen
O flaen Philistia a'i bygythiol wedd?
A dd'wedaist ti fod Jonathan gyda Saul?
O Dduw! amddiffyn ef a nertha'i fraich;
Ac fel yn nyffryn Ela rhoddaist gynt
Ar ffordd Azeca fuddygoliaeth fawr,
Boed Israel eto'n gadarn yn dy law,
A'i hymgyrch ar y gelyn megys ffrwd
Ewynog y llifeiriant pan fo'i rhuthr
Yn tori'r arglawdd mewn gornwyfus nerth.
O Saul hirgreulawn! pa argyllaeth sydd
Yn rhwygo'm calon am na chawn yn awr
Roi'm tarian fechan dros drueni'm gwlad,
A gwneyd i'm cledd efflanu er ei mwyn!
Ond gwel, Benaiah: pwy yw hwn sy'n dod
Mewn brysiog ymdrech a lluddedig wedd?"
  Ar hyn y blin redegydd deuai'n mlaen,
A chan ddyheu, dywedai â geiriau byr,
"O obaith Israel, rhedais atat ti
I'th alw i'n hamddiffyn: Israel sydd
Yn wasgaredig ar y bryniau oll
Fel dail mewn corwynt; a'r Philistiaid erch
Yn erlyn i'w dyfetha dros y wlad:
'Does cledd na gwaewffon a'u lluddias hwynt;
Tarianau 'r cedyrn dorwyd megis cwyr."
"Pa le mae Saul? Pa le mae Jonathan hoff?"
Gofynai Dafydd mewn crynedig lais.

A'r gwr atebai, "Wele 'r bobl i gyd
A ffoisant am eu heinioes ; ac nis gwn
Pa le mae'r brenin a'r tywysog mwyn."
Dywedai 'r Blaenor wrth Benaiah, "Dos
Ac ymgeledda ef, a galw 'r gwŷr.
O ! dristwch eto sydd yn llanw 'm bron !
O Dduw ! pa hyd y cospi'r euog gwan ?
Ein pechod sy'n ein trechu ; wele 'r bobl
Yn wasgaredig mewn difrodiad erch,
Am droi o honynt a'th anghofio Di."
Yn fuan casglai 'r dewrion, un ac un,
O gylch eu Blaenor trist, a'u prudd-der hwy
Yn arlun cywir o'i ofidus wedd.
Gwladgarwch foddai bob digofus wŷn
Feithrinwyd dan eu bron gan drallod hir,
A chas elyniaeth ac erlynol gam.
Ni chofid am Engedi nac am Ziph,
Na Hareth goediog, nac am Paran bell.
Pob teimlad swynid, ond eu gwladgar serch,
I ebargofus gwsg : ni wyddai 'u bron,
Ond fod y gelyn yn gorthrechu eu gwlad,
A lluoedd Israel yn eu gwarth yn ffoi.
Tra 'n ddystaw 'r ymofidient, wele wr
Yn nesu atynt fel o hirbell daith,
Ac yn ymgrymu o flaen 'r Eneiniog hoff,
Gan ddweyd mewn ateb i'w ymholiad ef,
"O wersyll Israel daethym ; wele 'r bobl
A ffoisant rhag y gelyn ; lladdfa fawr
Fu ar fyddinoedd Israel, a marw yw

Y brenin Saul a Jonathan ei fab."
"Pa fodd y gwyddost," ebai 'r Blaenor trist,
Mewn isel dôn, a'r dagrau 'n gloewi ei drem,
"Farw o Saul a Jonathan ei fab ?'
  Y gwr atebai, "Ffoi yr oeddwn i
Ar fryn Gilboa, ac wele yno Saul
Yn wanluddedig ac yn drymfryd, trist,
Yn pwyso ar ei waewffon; ar ei ol
Marchogion a cherbydau 'r gelyn oedd
Yn gyru 'n ffromwyllt; a phan welodd hyn,
Trodd ataf gan och'neidio a dyweyd,
'Pob peth a gollwyd, ond fy einioes sydd
Yn glynu ynof; saf, atolwg, 'nawr,
A lladd fi cyn i'r gelyn ddod yn mlaen.'
A mi a sefais ac a'i lleddais ef.
Ac wele'r goron oedd o gylch ei ben,
A'r freichled hon a ddygais atat ti
I'w rhoi i f' arglwydd."
                Dafydd gyda hyn
Mewn syndod ac mewn braw ddywedai 'n wyllt,
"O b'le y'th hanyw ? gan it' godi 'n hyf
Dy law yn erbyn eneiniedig Duw ?
Dy erch hunangais a'th ddinystriodd di."
  Ar hyn gorch'mynai mewn digofus lais
I'r gwŷr i'w ddal a gweini arno 'r gosp.
Ond wylo wnai 'r Eneiniog; a daeth llanc
A'i delyn iddo, gan ei hestyn hi,
'Nol arfer i'w gysuro yn ei ing.
Ymaflai yntau ynddi fel peth byw,

A gwasgai hi i'w fynwes, tra ei law
Yn deffro ar ei thannau ryfedd sain
Fel sŵn galargan engyl: pruddaidd oedd,
Ond O! yn beraidd fel rhyw nefol lais.
Cymmysgai 'i eiriau a'i pheroriaeth fwyn:
"O ardderchogrwydd Israel! clwyfwyd di
Ar d' uchelfanau! Cwympodd, O! pa fodd?
Y cedyrn! Na fynegwch hyn yn Gath,
Nac yn heolydd Ascalon, rhag bod
I ferched y Philistiaid lawen gân,
A mawr orfoledd i'r estroniaid balch.
Tydi Gilboa—chwi fynyddoedd gwyrdd,
Na syrthied arnoch mwy na gwlith na gwlaw!
Ac na frashaed eich cynnyrch i chwi byth!
Mewn dirmyg bwriwyd ymaith arnoch chwi
Darianau'r cedyrn, ie, tarian Saul,
Fel pe âg olew nad eneiniwyd ef!
Rhag gwaed y lladdedigion, a rhag llid
Gelynion cedyrn yn cyd-dynu eu nerth,
Ni throai bwa Jonathan yn ol,
A chleddyf Saul byth ni ddychwelai 'n wag.
Cariadus yn eu bywyd fuont hwy,
Ac mewn marwolaeth ni wahanwyd hwynt.
Cynt na'r eryrod, cryfach o'ent na'r llew.
O ferched Israel! wylwch chwi am Saul,
Yr hwn mewn 'sgarlad a'ch dilladai chwi,
Mewn gwychder ac hyfrydwch ger ei fron.
Pa fodd y cwympai'r cedyrn yn y gâd?
O Jonathan, syrthiaist er dy uchel fri!

Trwm loes sydd im' am danat ti, fy mrawd.
Cu iawn a fuost genyf! rhyfedd oedd
Dy gariad ataf fi! ond O! pa fodd
Y syrthiai 'r cedyrn, ac y gadwyd ni
Yn wan, amddifad, heb gadernid mwy?"

---

## Caniad VI.

Llawenfloedd sydd yn Judah! uchel gân
Yn Hebron dawel am ei Th'wysog hoff!
Eneiniog Duw'n orchfygwr weithian sydd;
A Judah 'n barod i'w gofleidio ef.
Jehovah sy'n teyrnasu! wele 'i ffyrdd
Yn arwain heddyw i oruchel lwydd.
Penaethiaid y dinasoedd aethent oll
I arwain Dafydd i'w orseddfa lwys;
A'r bobloedd wrth y porth a chynhes serch
Ddysgwylient am yr hwn a ddeuai i mewn
Yn gennad Duw i wisgo 'r goron wemp,
A rhoddi iddynt eu gogoniant llawn.
Y gân oedd, "Tyred, fendigedig Duw!
Profedig gan elynion ydwyt ti;
A'th fâd ddyfodiad sydd fel t'wyniad haul,
Pan wena eilwaith dros gymylau 'r storm.
Anwylyd Duw, O tyred! gwisg dy nerth,
Ac eistedd ar orseddfainc Israel byth!
Gelynion welwant rhag dy fawrfryd drem;
A'th fwynder leinw 'r fron â chariad pur.
Pwy feiddia mwy ein haflonyddu ni,

Tra 'n gwisgo 'n coron mae Tywysog Duw?"
Ar hyn y lluoedd at y ddinas lon
Ddynesent oddi draw, a Joab oedd
Yn arwain blaenlu y gattyrfa ddewr.
I mewn trwy 'r pyrth y deuynt, tra 'r oedd bloedd
Oroian miloedd yn adseinio 'n mhell,
A chân gwyryfon yn perori 'r sain.
Yn mhlith penaethiaid Judah, gwelid ef,
Yr hwn a hoffent: Abiathar oedd
A Gad, a Nathan, a'i gadbeniaid oll
Mewn lloniant yn ei ganlyn: tra 'r oedd llu
Eleazar gadarn yn terfynu 'r rhes.
Gorseddfa fawrwych oedd ar uchel fan
O fewn y ddinas: yno âi y dorf:
Gosodwyd arni yr Eneiniog hoff;
A'r holl benaethiaid a'i hamgylchent ef.
Llefarodd yntau, "Duw a roes i mi
Y mawr-waith hwn, a Duw ei hun a drodd
Eich calon ataf mewn ymlynol serch.
Ei was wyf fi, a gwas fy nghenedl gu,
I'ch arwain i'r dedwyddwch sydd o draw
Yn gwenu arnom yn mwriadau 'r nef.
Ei etholedig ydym, ac o'r Aipht
Y dygodd ni i'r wlad hyfrydawl hon,
A gawsai 'n tadau mewn addewid rad.
Ein pechod a'n handwyodd: pechod sydd
Yn gwgu arnom o druenus wedd
Ein cyssegr santaidd, ac o gedyrn byrth
Gelynion sydd hyd heddyw'n treisio'n tir.

Jehovah yw ein nerth: Efe a rydd
Ymwared ini â'i alluog law.
Oddiwrth y praidd yn Ephrath galwyd fi
I'w wasanaethu Ef a'm cenedl flin.
Ni wyddwn ffyrdd fy Nuw wrth ufyddhau:
Ei lwybr sydd uwch na holl amcanion dyn.
Ond dysgwyl wnaethym wrth ei gynghor Ef,
Gan ddilyn ei ewyllys, trwy bob rhwystr
A llid gelynion, dan ei dyner nawdd.
Tywyllwch oedd o'm blaen, a llaw fy Nuw
Yn unig a'm harweiniodd gam a cham:
Pob rhwystr ddiflannai rhag ei allu Ef;
Ac wele rhyfedd yw ei waith i ni!
Trwy law fy Nuw y safaf heddyw'n ŵyl,
I gyfammodi ag Israel ger ei fron,
I gadw ei ddeddfau a mawrhau ei air.
Rhanedig ydyw'r genedl hyd yn hyn;
A'r estron sydd yn cablu'n Salem draw,
A chryf elynion yn anrheithio'n tir,
A'r arch yn crwydro mewn dinodedd blin.
Ond gwelaf ddydd, a gwawrio eisoes mae,
Pan dynir ymaith ein gwarthnodau i gyd.
Dysgwyliwn wrth yr Arglwydd! Rhydd Efe
Ymwared ini'n ol addewid wir.
Uwch nef y nefoedd mae ei orsedd fawr:
Er tragywyddoldeb ei wirionedd sydd
Yn ddigyfnewid byth: holl luoedd byd
A holl gadernid nef a llawr o'r bron
A drefnir ganddo i'w ogoniant Ef.

Ni frysia'r Hwn sydd byth a'i enw'n un;
A throiog yw ei ffyrdd i'n golwg ni.
Ond pechod dyn sydd wrthglawdd ar ei lwybr,
A'i hirymaros wna i'r Cadarn droi!
Ond Duw deyrnasa! a holl ffyrdd ei ras
Sy'n canolbwyntio mewn gwirionedd byth!
Ein llygaid heddyw welant lawen ddydd
Dechreuad yr ymwared rydd Efe
I'w Israel flin; ac yn ngoleuni hwn
Y gwelwn arall ddydd pan ddaw i ben
Ei holl fwriadau mad i'r genedl hon.
O fewn y gail daw Israel yn gytun,
Ac ar ei phebyll bydd tangnefedd llawn.
Yr Arglwydd yn ein canol wna ei sedd;
A'i gyssegr yn y man ordeiniodd Ef,
Fydd cyrchfa'r bobloedd mewn moliannus gân.
Un gelyn ni fygythiai'n tawel byrth;
Ond sain llawenydd fydd yn lloni'r wlad,
O'r afon hyd y mor; a gwên ein Duw
Yn gorphwys ar ei etifeddiaeth lon.
Duw ddengys imi'r dydd, a rhyfedd yw
Ei fawr drugaredd uwch ein moliant byth.
O Israel! dychwel at yr Arglwydd Dduw!
A dysgwyl wrtho mewn addoliad pur.
Ei enw sydd foliannus: uwch y byd
Ac uwch y nefoedd mae'i drugaredd Ef.
"Amen! Amen!" atebai'r dyrfa lon,
Gan adrodd eto y foliannus gân.
Ac yna Abiathar nesai'n mlaen,

A'r goron yn ei law, a chyda llais
Yn crynu gan ei deimlad, d'wedai, "Duw,
Ein Brenin ni a'th alwodd di ei Hun
I lywodraethu ei bobl yn ol ei air;
A'r bobl a'th alwant i'w bugeilio hwynt.
Yn enw'r Arglwydd gwisg y goron hon,
A chadarnhaer hi iti er ei fawl!
Amen! yr Arglwydd sy'n teyrnasu fyth!
A'i hoff Eneiniog a ddyrchafodd Ef,
I roi i Israel waredigaeth lawn."
Gosodai'r goron ar ei ben, tra'r oedd
Y dyrfa'n canu haleliwia lon,
A'r hoff Eneiniog yntau 'n wylo 'n fud,
A'i galon yn mawrygu gras ei Dduw.
Y proffwyd Gad ar hyn a godai 'i law,
Gan annerch y tyrfaoedd: d'wedai ef,
"Yr Arglwydd heddyw roddodd ini 'r gŵr
A hoffodd i'n bugeilio 'n ol Ei air.
Dychwelwch at eich Duw, a bydd i chwi
Lawn iachawdwriaeth ei addewid fawr.
Nid megys duwiau y cenedloedd ffol,
Yw 'r Duw addolwn ni: ei allu sydd
Yn trefnu 'r mawrfyd wrth ei 'wyllys ddoeth.
Yr hyn a fydd sydd fel yr hyn a fu
Yn amlwg ac agored iddo erioed:
Ac o'r dechreuad gwel'd y diwedd mae.
Trwy ddyrys daith arweiniodd ni yn mlaen
Er grym gelynion hyd yr haf-ddydd hwn;
A dengys ini heddyw 'r hyn a fydd

Pan lwyr gwblheir ei fwriad at y byd.
Yr Arglwydd drig yn Seion yn ei nerth,
Ac yn mhrydferthwch ei ogoniant glwys.
Ac o'i gyssegrle 'r gyfraith allan â
I ddwyn y byd i blygu ger ei fron;
A'r holl genhedloedd a'i hadwaenant Ef.
Yr hoff Eneiniog a ddyrchefir mwy;
Ac i'w freniniaeth ni bydd diwedd byth!"
Atebai 'r dyrfa, "Bendigedig yw
Yr Arglwydd! ac ofnadwy yw ei nerth!
A'i foliant sydd uwchlaw y nefoedd oll!"

---

## CANIAD VII.

DYSTAWODD swn caniadau 'r dyrfa lon:
Y bobl a hunent mewn tangnefedd pur,
A'u nos freuddwydion am eu T'wysog cu
Yn llanw 'u cwsg â gobaith a mwynhâd.
Dinasoedd Judah gysgent felys hûn:
Eu T'wysog oedd o'u mewn, a dystaw swyn
Ei bresennoldeb yrai ofnau 'n mhell.
Cadernid Dafydd ydoedd nerth ei wlad;
A'i gryfder yntau ydoedd gwên ei Dduw.
Ni hunai 'r hoff Eneiniog, er fod nos
Yn suo Hebron megys mammaeth fwyn;
Ond disgwyl wrth yr Arglwydd wnai efe,
A'i enaid yn ymostwng ger ei fron,
Mewn dwys addoliad ac arddunol fawl.
Dywedai, "Ti, O Dduw, wyt gadarn Ior,

A'th enw 'n fendigedig! Trwy dy nerth
Y codi 'r gwan uwchlaw gelynion dig,
Ac y gwaredi ei enaid rhag eu llid.
Gwirionedd a thrugaredd sydd hyd byth
Yn cylchu dy orseddfainc! uchel wyt,
O Dduw Jehovah! a'th lywodraeth sydd
Yn estyn mewn uniondeb dros y byd.
Gorch'myni i'r nefoedd: plygant ger dy fron!
A'r ddaiar isod wrendy ar dy lais.
Dyrchefi 'r truan a gostyngi 'r balch;
A phwy a farn dy berffaith gynghor Di?
Pa beth yw dyn fel yr edrychai Duw
O'i nefoedd uchel ar ei waelder ef?
Ac O! pa beth wyf fi, fy Arglwydd Ior?
I ti i'm cofio â'th drugaredd fawr!
Cyfodaist fi o'r llwch, i wneyd dy nerth
Yn fendigedig dros dy bobl hyd byth.
Clodforaf Di, fy Nuw, a bydd fy nghân
Yn hyfryd yn fy ngenau er dy fawl.
Dysgwyliaf wrth oleuni 'th gynghor doeth;
Ac ymddiriedaf yn dy allu Di.
Mawryger dy ogoniant yn ein llwydd,
A doed y byd i'th adwaen Di, ein Duw;
A'r holl genhedloedd i ymgrymu o'th flaen."
  Fel hyn gweddiai yr Eneiniog hoff,
A Duw yn gwenu ar ei ysbryd pur.
Ond edrych i'r dyfodiant wnai mewn ofn;
A phryder lenwai 'i galon: mawrwaith Duw
Tuag at ei bobl lethai 'i ysbryd llesg;

A gofyn eto mewn petrusder wnai,
"Pwy sydd ddigonol i gyflawni 'th air?"
Ar hyn rhyw angel ddaeth; a thyner chwyf
Ei aden aur o flaen ei lygaid ef
A daflodd arno uwchddaiarol wawl;
A syrthiai 'i ysbryd i berlesmair syn.
Mewn haner breuddwyd gwelai'n lledu o'i flaen,
Wastadedd eang fel diderfyn fôr;
A phob rhyw fwystfil arno'n crwydro'n rhydd,
A gwaed galanas yn difwyno'i wedd:
Ac ar ei ganol randir megys gardd,
A choed cauadfrig yn amgylchu'r lle,
A phob rhyw ffrwythau yno'n tyfu'n llawn.
Dedwyddwch a phrydferthwch oedd o'i mewn;
A heddwch llon deyrnasai dros y tir.
Ymgodai o honi megys dinas fawr,
A'i thyrau'n ddysglaer dan oleuni haul.
Yn nghanol hon 'roedd gorsedd fan o aur:
A gwr yn eistedd arni: ger ei fron
Ymgrymai'r bobl mewn ewyllysgar barch;
Ac mewn llawenydd y mawrygent Ef.
Llon-waeddai'r dyrfa, "Traddyrchafodd Duw
Ei hoff Eneiniog i waredu ei bobl,
Ac i fawrygu ei wirionedd pur,
A dangos ei ogoniant ar y byd:
Ac i'w freniniaeth ni bydd diwedd byth.
Yn Seion y preswylia'r Arglwydd Dduw;
A'i foliant yn ei gyssegr esgyn fry
Fel cydlais tyrfa pan yn cadw gwyl!

Yr Arglwydd wnaeth yn rhyfedd! llawenhawn!
A bendigedig fyddo'i enw Ef!"
  Symmudai yr olygfa: gwelai wae,
A therfysg yn ymdaenu dros y lle:
Cymylau a thywyllwch yn crynhoi,
Ac yn enhuddo'r holl brydferthwch prid.
Dysgwyliai am oleuni, ond nid oedd
Ond llewyrch gwanaidd weithiau ar y fan;
A gwelai oesau'n treiglo, un ac un,
Yn dilyn mewn tywyllwch at y bedd;
Ac yntau'n dysgwyl am y goleu gynt:
Nid oedd ond cythrwfl a therfysgoedd erch;
Ond llais gyhoeddai, "Fy nghyfammod sydd
A'm hetholedig yn dragwyddol sicr,
A'm trugareddau i Dafydd ac i'w had."
  Newidiai eto yr olygfa syn;
A gwelai oleu'n tori trwy y gwyll,
A'r orsedd welsai gynt yn codi fry
Uwchlaw y ddaiar, a'i hysblander gwych
Fel llewyrch haul pan d'wyno yn ei nerth.
Yr holl genhedloedd blygent ger ei fron;
A'r glwys ogoniant ledai dros y byd.
A'r Un eisteddai arni oedd a'i wedd
Yn fil tanbeidiach na goleuni haul:
A llais pob cenedl unai yn y gân:
  "I'r hwn sy'n eistedd ar yr orsedd fry,
Y byddo'r gallu a'r gogoniant byth!
Y Llew o Judah, Gwreiddyn Dafydd sydd
Ar bob gelynion yn orchfygwr mwy!

Teilwng yw'r Oen a laddwyd! Prynodd ni
A'i werthfawr waed i Dduw! ac iddo Ef
Heb ddiwedd mwy y byddo'r mawl, Amen!"
  Ar hyn diflanai yr olygfa fawr;
A'r hoff Eneiniog a ddadebrai'n syn.
Yr angel dd'wedai, "Duw a'th nertha di:
Nac ofna, ond gwel Ei iachawdwriaeth Ef!"

---

# DRYLLIAD Y "ROYAL CHARTER."

Golamai'r llong yn falch a llon
O gaethlyn ei hangorfa;
A chan gusanu min pob ton,
Iach ganai i Awstralia.

Siriolai huan claer y nen,
A dawnsiai 'i eur belydron,
A'r awel dyner fry uwch ben
Syganai fwyn alawon.

Mal nwyfus aerfarch cyn y gad
Yn prancio mewn gorhoender,
Gadawai 'r llong yr hybell wlad
Gan lemain hyd y dyfnder.

Pob penon chwifiai yn y gwynt,
Pob hwyl gofleidiai 'r awel;
A'r "Royal Charter" ar ei hynt,
Dros orwel edwai 'n dawel.

'R ymdeithwyr yn fyntai a hulient ei bwrdd,
Tra'r tir yn y pellder ddiflanai;
A gwrthddrych 'n ol gwrthddrych adwaenent yn hir
Dros lethrau 'r terfyngylch ddisgynai.

Amrywiol feddyliau ymwthient i'w bryd
  Ar dawel chwareufwrdd myfyrdod :—
Pob un mewn lledfreuddwyd rhwng pleser a phoen,
  Llawenydd, a hiraeth, a syndod.

Adgofient hoff fanau fynychent hwy gynt,
  A throion o dristyd ac elwch :
Rhyw haner edifar gadawent ar ol
  Y llenyrch a hulid â harddwch.

Meddylient am ddyddiau o lafur a chur,
  Ac ymdrech mewn caled orchwylion,
Pan mynych ddymunent am weled y dydd
  Caent orphwys o blith eu trafferthion.

Yn awr pan yr adeg ddymunol a ddaeth,
  Rhyw bruddni ordöai eu llonder ;
Pan dorai 'r cysylltiad â phethau o'ent gu,
  Fe waedai 'n ddefnynau o chwerwder.

Ond buan pob gofid a giliai yn mhell,
  Pob calon yn llawen ymlonai,
Gan ddwys ymddyheu am yr heddwch diloes,
  A'r araul fwynhad a'u harosai.

Er hyny, hybellder aruthrol y daith
  Frawychai bob meddwl ystyriol ;
A hyll ddrychioliaethau o berygl ac ing
  Gymylent eu hysbryd ymlonol.

Ond weithion anghofid pob dychryn ac ofn,
Mewn llon ragolygon o fwyniant;
Tra'r llong dros y cefnfor a hwyliai yn hyf,
Heb lesgedd nac awydd am seibiant.

I'r teithwyr, diweddfa y fordaith orfaith
Oedd cyrchnod eu heres obeithion;
Hyd ddyddiau meddylient, breuddwydient y nos
Am hoff gyfarchiadau cyfeillion.

Dychymyg yn fynych ar edyn y serch
Ehedai dros foroedd ymledol,
Gan arwain llinynau eu cariad gordwyth
I gyssegr yr aelwyd artrefol.

Fel hyn ymddedwyddent yn ystod y daith,
Tra brysiai y llong ar ei gyrfa;
A syn ryfeddodau amliwiol y môr,
Hyd egwyl a ddoent i'w golygfa.

O ddyfnder gwyrddlasar! mor erch yw'th ddirgelion!
Mor fawr ac ofnadwy i syniad meidrolion!
Pa feddwl all ddirnad dy faith ryfeddodau,
A deall eresiaith dy dónog ruadau?
Pa syniaeth all dreiddio i argelfa yr eigion,
A hydr ddeongli ei dywyll gyfrinion?
Dihunodd o ddyddim wrth arch y Jehofa,
'N arddelwydd ei allu, a phwy a'i gorfoda!
Mewn dystaw gyfrinach â bodau wybrenol,

Dirmyga ormesiaeth awdurdod ddaiarol.
Mae adlef bytholfyd yn swn ei leferydd,
A thrystfawr gnul amser yn eilio eu gilydd ;
Mae si-ffrwd ei laes-wisg yn adlais o'i fawredd,
A thwrf ei symudiad fel bloedd anfeidroledd!
Mae swyn ar ei wyneb yn denu 'r awenydd,
A llais o'i waelodion yn galw 'r edmygydd;
Ond Och ! mor anffyddlon a throiog yw'r dyfnder !
Newidiol ei arwedd, a gwammal ei dymmer!
Nan, esmwyth orphwysa ar fonwes ei raian,
A'i wedd yn adlunio glain belydr yr huan—
Ei drystfawr wanegau yn huno yn dawel,
A'i rugiol donigau 'n cusanu 'r awel,
Wrth chwareu â'r tesni sy'n picio o'i wyneb,
Gan wridio yn llonfaïch wrth weled ei ardeb.
Mae chwythiad ei anadl fel mwynlais tangnefedd,
Ac ysbryd llonyddwch fel arno yn gorwedd!
Pryd hyn y Siwenau mewn llechfa anhywel
Addurnant eu hirwallt â gemau a chwrel,
A'r gwylaidd Nofesau ar balmant yr eigion,
Gorelwant i fwyngerdd eu hen-dad llwyd Neifion.
O hyfryd dawelwch! Pob tòn 'nawr yn llonydd,
Mewn serch yn cydblethu yn mreichiau eu gilydd!
Mor ddidwrf a phan oedd cyn treigliad yr oesoedd.
Yr ysbryd yn symmud hyd wyneb y dyfroedd!
O pa'm rhaid i'r dyfnder byth grych-gynddeiriogi,
A mathru hyfwynder a thanc ei dirioni!
Mor swynol yn awr ar chwai edyn dychymyg,
Yw chwareu yn ngwenau ei heddwch siriolfyg ;

A gwel'd ar ei fonwes ynysoedd mewn cydserch,
Fel tlysau amryliw ar fron priodasferch!
Nid rhyfedd fod bryd cenedlaethau dilynol
Yn gorwedd yn mreichiau ei donau ymlonol.
Mae rhyddid yn llywio ei faith eangderau,
A'i llais yn llefaru yn swn ei wanegau—
Fel eryr breninol mewn glas uchelderau,
Yn lledu ei edyn dan eurgain belydrau,
Heb neb i'w lesteirio ar lwybr awyrol,
Neu wibrawd ramantawl drwy'r asur ymledol,
Y morwr a gyfyd ei hwyl ar ei donau,
Heb wrthglawdd na rhwystr ar ei freiniol ororau.
Mân longau chwareuol sy'n britho y feisdon,
A'u hwyliau tor-wynion yn sugno 'r awelon.
A'r erch agerlongau, aruthrol eu hoewder,
Fel engyrth losgfalau yn nofio y dyfnder,
Sy'n rhwygo y weilgi fel mellten y cwmwl,
Nes llanw â syndod edmygol bob meddwl.
Mae'r oll ar ei wyneb yn ddedwydd a difraw,
Tra gorwedd ei ddyfroedd mewn tangnef yn ddystaw.
Ond pan gynddeirioga, brawycha farwolion,
A'i sŵn sydd fel croch-waedd mil myrdd o ellyllon!
Wrth ordwrf syfrdanol ei enfawr ruadau,
Fe gryna y ddaear i'w chedyrn sylfaenau!
O! na lawenycher hyd ddyfnfor du-lasar,
Ac na roer ymddiried i'w siriol wên hygar!
Dan guddlen plydd chwifiol ei hynaws dirioni,
Mae erchyll elfodau y storm yn bodoli!
O aruthr ofidiau fu'n rhwygo calonau,

Mewn ingoedd aneirif hyd wyneb ei donau!
O'r heillt ddeigr poethion mewn mynych galedi,
Sydd wedi heliö gwanegau y weilgi!
Yn nghanol y dymmestl bydd meddwl y morwr
Yn twymo, er ing anobeithiol ei gyflwr,
Wrth feddwl am riaint anwylgu, a'r aelwyd,
Gyssegrwyd gan fil o adgofion, lle 'i magwyd.
Ac yno yr henfam grychedig ac egwan,
A wyla wrth wrandaw 'r rhyferthwy sydd allan;
Ei chalon weliog a waeda gan hiraeth [alaeth.
Am ei bachgen crychwalltog sydd 'nawr mewn trwm
Ond er dirdyniadau llinynau eu cariad,
Clywch gnul yr ystorm ar ei bythol ysgariad!
Y teithiwr pryderus am heddwch a thangnef,
Mewn addiant ddysgwylia am weled ei artref;
Ond taena 'r ystorm y cymylau yn faniar,
Arllwysa erch waeau fel saethau ar wasgar;
A'i chuddlen enhudda deg wawr ei obeithion,
A boddir ei ochain yn nghrochlef yr eigion.
Ond er mor ofnadwy yw nwyd ei gynddaredd,
Hir erys ar brydiau mewn tirion daweledd;
Ni welir un gwg ar ei wedd na bygythiad,
A'r teithiwr ni rwystrir â gerwin gynhyrfiad.
O ddyeithr gilfachau gororau pellenig,
Daw'r llestr yn dawel i'w moroedd cartrefig.

Fel hyn y "Royal Charter" ferth,
'Nol taith o hybell froydd,
A hwyliai mewn bywiogrwydd chwim,
Dros wyrddwy mor y Werydd.

Ac ar ei bwrdd 'r oedd llawer bron
O serch yn mwyn gynhesu,
Gan ymddyheu am weled gwedd
Hoff gyrau cartref llongu.

Ai heibio ddydd 'nol dydd yn llesg,
Gan dwyllo eu hawyddfryd ;
A hwy bob awr yn disgwyl gwel'd
Rhyw ran o'r hen wlad hyfryd.

Trwy wydrau syllu wnaent yn hir,
A newid ar eu gilydd :
Ond mynych siomid tremiad dwys
Yn nglasflawr donau 'r Werydd.

A mynych holi wnaent bob awr
A'r morwyr yn eu boddiant,
Pa bryd caent gipdrem ar y tir,
A lleddfu eu gofeiliant.

Ar foreu gyda thoriad gwawr,
Rhyw wyliwr roddai 'r newydd ;
A'r swynair "tir" trwy gonglau 'r llong
A swnid mewn llawenydd.

Ar hyn cyflyment tua 'r bwrdd,
Pob un yn chwai ac esgud,
I wledda 'u llygaid a hoff ddrych
Y wlad a hir ddisgwylid.

Cyn hir dynesu wnaent yn llon
  At lenydd heirdd y Werddon;
A chwyddai cariad llawer bron,
  Wrth selu 'i broydd hylon.

Rhai barotoent i ganu 'n iach
  I'r llong a'u hen gymdeithion,
A glanio ar yr Ynys Werdd
  Yn nghanol llon gyfarchion.

Ymadael wnaent mewn cariad twym,
  Gan wasgu dwylaw 'n ffyddlawn,
A dwys ddymuno am eto gwrdd
  Mewn cyfeillgarwch serchlawn.

Rhai ceraint gyda dagrau serch
  Adawent eu perth'nasau,
Gan lwys obeithio cwrdd cyn hir
  Mewn hedd ar ol eu teithiau.

Ddoeth Ragluniaeth! mewn tywyllwch
  Mae dy faith gynlluniau di!
Tewion gymyl a'u henhuddant
  Rhag ein hegwan olwg ni!
Mynych mae dy droion enfawr
  Fel taw dreigliad ser y nen,
Ond ar brydiau fel ymrwygiad
  Mellten trwy gaddugol lèn!

Dystaw dreigla dy weithredoedd
  O ddyfnderoedd meddwl Ior,
Fel mynyddau yn dyrchafu
  O waelodion dwfn y môr ;
Creadaethau newydd ydynt
  O dan law Anfeidrol Lyw
Yn cysylltu a'u cyssodau,
  Waelder dyn a mawredd Duw !

Mor lygattraws yw golygon
  Preswylyddion isel fyd,
Nes gwel'd gwŷrni yn ngweithredoedd
  Ewyllys uniawn dwyfol fryd.
Mor gaeth dywyll yw 'n syniadaeth,
  Nes ymrwgnach weithiau 'n syn,
Pan yn cwrdd â throion dyrys,
  Blwng, dilewyrch fel rhai hyn.

Pa'm y cafodd rhai iach lanio
  O beryglon erch y lli ?
Pa'm y rhoddwyd i flwng waeau
  Ereill gan y cyfiawn Ri ?
Ond taweled pob amheuaeth,
  Dyrched ein serchiadau 'n rhydd,
Uwch cymylau anghrediniaeth
  Ar eryraidd edyn ffydd.

'R Hwn sy'n rhoddi sy'n cymeryd—
  'R Hwn sy'n creu sy'n llywio'r oll;
Mae cyflawnder anfeidroldeb
  Rhwng ei waith ag unrhyw goll.
P'odd gall dim ond cariad lifo
  O ffynonell cariad byw?
Gwaedded ffydd er gwlyb ei gruddiau,
  Bendigedig fyddo Duw!

Yn mlaen yr hwyliai'r llong ar ddystaw daith
Fel rhywbeth byw yn nofio'r gwenyg maith.
Yn fuan gwelid trwy y cnuog nudd
Yn lled ymddangos o'u gorweddfa gudd,
Ororau Prydain ferth, hoff gyssegr gell
Serchiadau llawer bron ar froydd pell.
Ac O fel berwai cariad monwes fad,
Wrth wel'd trwy ddagrau serch yr anwyl wlad!
Na chofier mwyniant goludogion fflwch,
A'u haml drysorau fel rhonynau 'r llwch,
Na dedwyddusrwydd balch gorchfygwyr llon,
Wrth weled byd yn plygu ger eu bron—
I galon teithiwr mae dedwyddwch pur
Yn hidlo'i neithdar heb waddodyn sur,
Pan wedi ymdaith hir o dir ei wlad,
Yn tremio gyntaf ar ei chyrau mad—
Rhyw ias lesemiriol o hyfrydwch chweg,
Wefreiddia'i ysbryd ar yr olwg deg.
Perfasol hoen a lenwai fronau'n awr,
A maws foddineb, pan yn gweled gwawr

Y wlad a baentiwyd mewn arluniau derch
Ar len dychymyg a heirdd liwiau serch.
Ac O fel curai llawer calon dwym,
A fu er pellder wrth ei gwlad yn rhwym—
Er meithdra amser a phellineb erch,
Yn hongian wrthi ar linynau serch—
Wrth eto nesu at ei llenyrch teg,
I adymglymu â'i chudd swyn difreg!
Amrywiol amgylchiadau sydd yn cwrdd
Mewn unol londer ar y llydan fwrdd.
Rhai welaf wedi bod am flwyddi maith
O ymdrech dyddiol blin, a chaled waith,
Yn ymorchestu mewn pellenig wlad
Er chwerw hiraeth am eu cartref mad,
I gasglu cyfoeth erbyn terfyn oes,
A llon fwynhau mewn llawnder, hedd diloes.
Ac aml deuluoedd 'n ol alltudiaeth hir,
Dan rwymau elw, o'u cartrefol dir,
Yn awr ddychwelant i'w cyntefig fro,
I orphwys wedi llawer chwerw dro.
A chyda'r rhelyw, morwr gwrol, cryf,
Hwyliasai 'n fynych trwy y storm yn hyf,
Ond daflwyd gan erch greulon gorwynt certh
A'i long yn ddrliau ar y creigiau serth,
Ac wedi dysgwyl ar estronol draeth
Am waredigaeth o'i resyndra caeth,
Y "Royal Charter" ddaeth ar ymdaith lon,
A chafodd loches glyd yn monwes hon:

Hwn wedi ei achub rhag peryglon erch
Yn awr ymlonai mewn gobeithion derch,
Ac iach ddysgwyliai am gysuron hedd,
A llwyddiant claer, 'nol ofni estron fedd.*

O fraued yw mân-wê dedwyddwch daearol!
Mor fynych ei rhwygir gan droion y byd!
Fregused yw delwaith hudswynol obeithion,
Leuerant â'u gwychder bruddleni ein bryd!
O na foed i ddirmyg gymylu un llonder,
Gynhesa y fonwes â'i belydr ter;
Can's buan daw gofid i'w ddiffodd a'i dagrau,
A huddo â chwerwder ei wenau mwyn per?

Mynyddoedd ban Gwalia sy'n codi i'r cymyl,
O'u blaen eu gwyn benau nes llanw pob bron
A melus hyfrydwch wrth feddwl am hawddfyd,
A maws ddiogelwch 'n ol croesi pob ton.
O na foed un ellyll i ddifa 'u gobeithion,
Trwy sisial mor agos yw terfyn eu hedd,
Ac na fydd y bryniau ynt 'nawr yn eu lloni,
'Mhen ennyd ond dystaw arwylwyr eu bedd!

* "It is said there was one captain on board who had been wrecked and had reached a desolate island, from which he had looked out upon the sea day after day, presenting signals to passing ships to call and take him off. He had used his utmost efforts in vain, until he attracted the notice of the "Royal Charter" and was received on board to be wrecked again and now to be lost."—Rev. J. W. Richardson.

Na, na; boed claer lewyrch gobeithion i dwymo
  Y fron fydd mor fuan mor oered a'r iâ!
O chweg bo melusion y mwyniant diweddaf,
  Cyn dirdyn yr angau, y galon fwynha!
Os na chânt fyth deimlo yr hedd maent yn ddysgwyl,
  Na rhodio hyd lenyrch heirdd swynol eu gwlad,
O na warafuner i'nt siriol obeithion
  A pher ddysgwyliadau am eres fwynhad!

Meddylient 'mhen 'chydig ddiwrnodau i lanio,
  Ac yna ymorphwys heb bryder yn rhydd:
Ond nid ynt yn gwrandaw llym rybudd y gwyntoedd
  Na gwel'd drychiolaethau bygythol y nudd.
Blynghau mae y wybren, a'r dyfroedd aflonydd
  Sy'n dechreu ymwingo yn flin ar bob llaw.
Hen forwyr sydd bruddaidd, ond llawen obeithion
  Sy'n cadw calonau y teithwyr heb fraw.

Ond tymmestl sydd er hyn, heb wrthdro 'n dyfod,
Ar warthaf y llon deithwyr, fel blin gafod.
A mynych dós a chrychlam mae yn hwylio
Y llong, a'r dyfroedd dig o dani'n cuchio;
Fel gwylltfil gan glustfeinio 'n aflonyddu,
Wrth feddwl fod syn berygl yn dynesu.
Y gwynt dan gwynfan a dwfn leddf chwibaniad,
Sydd fel yn galw cyn rhyw ffroch gynhyrfiad,
Elfodau 'r storm o ddu anoddyfn eigion
I resu 'n barod eu gorerch gunellon,
A berwi 'u digter yn yr ufel fflamawl,
Ymsaetha eisoes dros y mor trochionawl,

Gan rwygo'r cymyl sydd yn dystaw ddillio
Ar fron y lli fel cynamserol amdo.
O bell y clywir grymial dwfn y daran,
Fel pe olwyni 'r cread yn rhygn rincian
Ar enfawr amdro gylch eu maith begynau,
A'u twrf yn darstain trwy 'r pell eangderau.
Y dwn gymylau draw yn aml fynteioedd
Sy'n araf nesu, fel ysglyfiog luoedd
O erch fwlturiaid gwancus cyn cyflafan,
Yn sawrio 'n reddfol y geulwaedlyd gelan:
Neu fel ymroliog fwg o erch gyflegrau
Yn arllwys tywyll ddystryw o'u rhwth enau,
Gan daenu caddug hyd eu llydan lwybr,
A chuddio 'u saethau rhag llon drem yr wybr.
Ar brydiau fel rhaiadrau gwyllt, gorlifol,
Yn lluchio 'u cefnllif gyda nerth angerddol,
Trwy'r tarth ymledol lawr i ddu anoddyfn,
Y cesair mewn blwng genllusg sydd yn disgyn,
Gan frathu 'r mor ac ennyn ei hyddigedd,
A ffroch gynhyrfu 'i donau i gynddaredd.
Llinynau iâ sy'n estyn o'r ddu wybren,
Gan arwain hyd-ddynt eirias fflam y fellten,
Sydd yma a thraw a llym dafodau tanllyd,
Yn llyfu 'r cymyl mewn rhawth wanc dychrynllyd.
A nerth ymgodol y mae'r gwynt yn chwythu,
Gan luchio'r tonau mewn angerddol allu
Ar draws eu gilydd, fel ymfrwydrol gewri
Yn gwrth ymdrechu â gorerch wrhydri.
Ar gefn y weilgi y maer deifr yn crugio,
Mewn nwydwyllt, hyddig awydd, gan bell hyrddio

Ewynog lafnau dros wyn drumau 'u gilydd;
Fel pan y cewri gynt mewn nwyd aflonydd,
Yn taflu 'r bryniau oesol yn garneddau,
I esgyn arnynt hyd at sedd y duwiau.
Ar ffordd y gyrwynt gwelir ambell wylan,
Yn ymorchestu uwch y lli, gan grawcian
Yn ddychrynedig a chrug screchian irad,
A'i phlu yn tasgu dan y cenllusg anfad.
Y llong helbulus yn y cythrwfl creulawn,
Sy'n ymegnio mewn cryf orchest ffyddlawn.
Yr ager stwriol yn y poeth beiriannau
Sy'n chwythu 'n chwyrn ei nerthol anadliadau:
Ar chwimwth gylchdro brysia'r chwai olwynion,
A'u twrf yn ddistaw gan uwch gri yr eigion:
Fel ffun anghenfil pan yn dwys erthychu,
Ymsaetha'r mwg o'r ffynell gan wasgaru
A chwai ddiflanu fel ysbrydion distaw,
Rhag swn y storm a ffrewylliadau 'r gyrwlaw.
Yn awr mae braw yn dechreu gwelwi gruddiau,
Ac oeri â'i erch iasau waed calonau.
Ceir mynych arwydd yn y drem a'r byr-air,
Fod pryder rhwng y teithwyr yn cyniwair:
Ei lais a glywir yn mhob syn ebychiad,
A swn ei droed yn dilyn pob symudiad.
Ymlyna plant yn ddystaw wrth eu rhiaint,
Gan grynu rhag y storm a'i blwng ddigofaint—
Yn fynych clywir haner gwaedd o syndod,
Wrth wel'd rhyw olwg newydd o ddychryndod;
Ond buan y canlyna dwys ochenaid,
Wrth feddwl am hyll berygl ac anwyliaid.

Man hyn mae tad wrth selu y rhyferthwy,
A chanfod rhwygiad y dyfnfor ofnadwy,
Yn synu mewn myfyrdod, ond chwai wed'yn
Yn brysio at ei deulu mewn prudd ddychryn—
Fan arall gwelir un a gwedd siomedig,
Yn gwelwi wrth arganfod gloes annelwig;
Ei bwys ar flwch yn llawn o aml drysorau,
Drud wobr dwys ymdrechion am flynyddau,
Yn nglyn a'r rhai mae myrdd o lon obeithion,
Yn fynych wedi t'wynu ar ei olygon :
Edrycha arno weithian a dwys addiant,
Ond buan try ei olwg mewn prudd siomiant.
Ha ! dyna eneth hardd fan yna'n wylo,
Os wylo ydyw dagrau 'n araf dreiglo
Dros ruddiau gleinwyn heb na sain na llafar,
Fel gwlith hyd farmor odd y dirion lasar.
Ei du-wallt llaes modrwyog sydd yn hongian
Dros wddw gwyn a llyfn ysgwyddau purlan,
Fel cwmwl yn enhuddo clogwyn eira :
O'i llygaid tyner t'wyna'r drem hygara !
Maws ddiniweidrwydd ar ei gwedd sy'n trigo—
Ar ddelw serch mae harddwch wedi 'i llunio.
Mor deg a swynol yw ei myrfad wyneb,
Gall angel edrych arni a gwel'd ei ardeb—
Fe'i ganwyd draw yn mhell o dir ei thadau,
Mewn estron wlad fe'i magwyd drwy'r blynyddau,
Yn fynych clyw'sai am hoff ynys Prydain,
A hi erioed heb wel'd e' henyrch mirain :
Gwrandawodd gyda gwen lu o hanesion,
Am wlad ei thadau a'i llon breswylyddion—

Am ymdrechiadau dewrion ei hynafiaid
Dros freiniau u tir a heddwch eu hanwyliaid;
A mynych dwys hiraethai am gael gweled
Y wlad a luniwyd ar ei bryd cyn deced—
Trwy'r fordaith hirfaith siriol lawenychai
Wrth ddysgwyl cyrhaedd tir mor ddwys a garai:
Llon lamai 'i chalon dyner mewn brwdfrydedd,
Wrth feddwl glanio arno mewn tangnefedd—
Mil myrdd o weithiau bu yn ceisio tybied
Pa fath oedd gwedd y wlad a hoffai weled.
Aneirif oedd y lluniau dychymygol
Ar len ei meddwl o'r hoff fangre swynol.
Gartrefle 'i thad a'i mam mewn llon ieuenctyd,
A llenyrch teg cynnefin i'w meddylfryd,
A mad wrthddrychau yn y dreflan hyfryd
Drwy lawer orig fu yn lloni 'i hysbryd—
Mor dorcalonus 'nawr oedd sisial dychryn,
Mai gâl ei gobaith fyddai'r gerwyn lynclyn!
Meddyliai pan yn gwrando swn y daran,
A thwrf y gwynt a'r tonau oddi allan,
Y clywai lais o'r cythrwfl gwyllt echryslawn
Yn gwawdio 'i dymuniadau mwyn, gobeithlawn
Gan waeddu'n groch, "Oer wobr dy serchiadau
Fydd dyfrllyd fedd yn ymyl gwlad dy dadau.
Nid pell oddiwrthi wele wr oedranus
A'i wyneb prudd yn dangos bron ofidus;
Dyoddefodd lawer loes a mynych gyni
Er pan adawodd gartref ei rieni.
Mewn hybell wlad mae wedi rhifo'r blwyddi,
Nes weithian wedi cyrhaedd nod penllwydni.

Bwriadai ddychwel 'nawr 'n ol hir grwydradau,
A gwneyd ei fedd yn ymyl llwch ei dadau.
Wrth wrando cri'r ystorm a'r erch drychineb,
Mae deigryn gloew ar ei rychog wyneb.
O wyled hen ac ieuanc! Beth ond wylo!
Mae bron yr eigion eisoes yn ymrwygo!
Mewn llerthedd gwyllt ymddryllia'r gwynfrig donau,
Gan luchio'r ewyn fry i'r blwng gymylau,
Fel cydymffrwydrad myrdd o losg fynyddau
A'u heirias li yn berwi'r uchelderau?
O wae anaele! onid oes diangfa?
A oes dim gobaith yn yr echrys wasgfa?
I'r niwl y saethir mynych dân beleni,
Mewn gobaith cael ymwared o'u trueni.
Gan hysian drwy y caddug maent yn esgyn
A chymmysg tân â fflamau'r mellt eiraswyn!
Pa feddwl ddirnad angerdd y dwys addiant,
Wrth ddysgwyl gwaredigaeth 'n awr a deimlant?
A threm ymlynol, synddwys i'r niwl oerllaith,
Edrychant gan ymholi, a oes gobaith?
Ar gefn y storm mae eisoes yn dynesu
Y nos, a'i mentyll dros y lli'n ymdaenu.
Mwy hydwyllt eto yr ymruthra'r corwynt!
Mwy echrys ffrystia'r fellten ar ei gyrhynt!
Uwch, uwch y rhua'r daran yn ei digter!
A dyfnach fyth ymrwyga croth y dyfnder!
Dros gerth glogwyni y mae'r llong yn llithro,
Neu mewn anoddyfn hafnau yn ymsuddo!
Yn awr fry saetha ar wyn-gribiog donau,
Nes trochi 'i hwyliau yn y du gymylau!

Ond eto syrthia'n chwyrn i holltau'r eigion,
O'r golwg dan wyn leni'r gerwin drochion!
O pwy fynega ing y noson hono?
Tywyllwch dudew ar eu llwybr yn dillio!
Elfodau'r storm yn gwylltio yn y corwynt!
Ac angeu fel yn ymbalfalu am danynt!
A yw'r mynyddau blinion yn ymdreiglo?
Neu ynte 'n aros ar eu cri i wrando?
Ai un nos fechan yw yr oriau araf?
Neu ddechreu nos didderfyn y gwyll olaf?
O wae ymgodol! Dyna'r wyllt enawel
Yn cludo'r llong i ddinystr le anhywel!
Y trwm angorau gyda swn bwrlymog,
Ddisgynant trwy y tonau crych trochionog.
A elli, obaith, ddal yn eofn wrthynt,
A thrwy enbydrwydd drechu grym y corwynt?
O! dacw'n deilchion y tidraffau cryfion!
Mae gallu Ior yn symud hyd yr eigion!
Pwy saif pan arch Efe i'w luoedd nerthol
Ymfrwydro o uchel furiau'r mor ymdonol?
Ar chwyrnwyllt yrfa dros glogwyni dibyn,
Y grawtha'r llong gan rwygo'r ewyn llwydwyn.
Ow! dyna swn yn bloeddio eu trueni,
Ffroch ru y tonau ar y creigiau'n tori!
A chyn dystawiad eu brawychus ochain
Ymgura'r llong ar draws y greigres lymfain.

Yn rhaiadr 'nol rhaiadr chwyrnella'r gwanegau
O addig ddyfnderoedd trwy holltau y creigiau,

Chwilfriwir y taclau, gorlifir y byrddau,
A sigir yr harddlong dan engyrth guriadau.
I'r teithwyr, mae gwasgfa ofnadwy marwolaeth
Yn dechreu dirdynu cadwyni eu halaeth.
Digymhorth, diobaith, ymdyrant yn ddystaw
Gan edrych i lygaid eu gilydd mewn synfraw.
Anwyliaid sy'n glynu mewn c'lymau o gariad
A'u calon yn gwaedu wrth ofni gwahaniad—
'R annuwiol sy'n crynu gan ostwng ei aeliau,
A'i gabledd hustingol yn tori'n och'neidiau.
Ond wele ar ffroch dwrf y rhuthrol ryferthwy,
A ffrwydrol rwygiadau yr eigion ofnadwy,
Rai'n codi eu lleisiau mwyn, egwan mewn gweddi,
A'u ffydd yn ymaflyd yn Lluniwr y gwylltli.
Rhych ferwed y dyfnder, dymchweled mynyddoedd,
Mae'n sefyll drwy'r cyfan wen orsedd y nefoedd!
Ymguro mae'r llong ar erch ddannedd y creigiau
A'r llynclyn o dani yn agor ei enau.
Ond dyna ryw forwr twymgalon, dewrfrydig,
Yn neidio i ganol y trochion berwedig!
Mae'r lan yn yr ymyl, ond er gorddwys egni,
Mae'r storm rhag ei chyrhaedd yn creulawn warchodi
Ond ha! dyna arall ar chwa yr enawel,
Yn cyrhaedd trwy orchest y tir yn ddiogel.*
Mae lledwawr ail obaith yn dechreu ymdori,
A'r galon lesmeiriol yn hanner bywiogi!

* Mae hyn yn ffaith: ymddengys i forwr dewr ymdrechu cyrhaedd y lan cyn i Rogers ymgymmeryd â'r gorchwyl peryglus. Bu y cyntaf yn aflwyddiannus, ond nid oedd oblegid hyny yn llai teilwng o barch am ei ymdrech.

Ond O! ai ar didraff yr hongian bywydau?
Na, na; llaw Rhagluniaeth sy'n llywio eneidiau!
Ymdrechant 'nawr ddianc er perygl echrysaf,
A chariad o hyd yn dal hunan yn olaf—
Erch allu'r ystorm fel yn teimlo eiddigedd
Wrth ganfod eu hawydd am gael diogeledd,
Sy'n aruthr ymrolio'n fwy hyddig ei dymmer,
Gan grugio'n fynyddau ffroch ddeifr y dyfnder,
A'u lluchio fel saethau ar draws y trueiniaid
Sy'n gwrol orchestu i gadw'u hanwyliaid.
O wyled tosturi! Mae hygar fabanod
Yn gwrandaw'r rhyferthwy a gwen o ryfeddod,
Gan estyn eu dwylaw bach, gwan, digynnorthwy
Fel pe baent am deimlo y cythrwfl ofnadwy!
Mae'r chwyddol waelodion yn chwydu cynddaredd,
A'r blwng uchelderau yn arllwys creulonedd!
Ar edyn y gyrwynt, a gwisg o gymylau—
Ei threm yn melltenu, a'i llais yn daranau,
Mae'r storm yn cynniwair yn wyllt hyd yr eigion,
A'i llwybrau yn llifo gan ferw-wyllt drochion.
Olygfa arswydlawn! A yw'r byd yn ymollwng,
A'r "diwedd" yn preithio ei synwaith heb gyfwng!
Ymgyfyd y dyfnder ag erch enfawr yni,
Fel pe yn ymrwygo trwy 'i oesol gadwyni!
Mae'r wybren a'r weilgi mewn cymbleth drybestyd,
A'r tryblith dechreuol fel pe yn dychwelyd!
O waedd dorcalonus! Mae'r llestr yn ddarnau!
A'r lli yn chwyrnellu yn wylltdrwy ei holltau!
Ugeiniau sy'n suddo yn swrth i'r gwanegau,
A'r ewyn yn rhuddgoch gan waed eu calonau!

Mae llu'n ymegnio yn safn y rhyferthwy,
A'r storm yn croch wawdio eu cri digynorthwy!
Rhai welaf mewn yni anobaith yn glynu
Wrth ddarnau o'r llestr, a'r storm yn eu taflu
Fel mân-ddail yn Hydref, er gorddwys ymlyniad,
A'r dyfnder yn cau am eu holaf anadliad!
Dacw dad mewn gorphwylledd yn curo'r crych donau,
Gan alw'i anwyliaid yn ol o'r dyfnderau!
Ond ow! dacw yntau 'n fethedig yn soddi,
A'i oerlef druenus 'n yr eigion yn tewi!
Mae arall fan acw yn y lli yn ymdrechu
A dau blentyn bychan wrth ei ochr yn glynu!
O wae! dacw fam a'i braich wen uwch y gwylltli
Yn dal mewn enbydrwydd ei baban rhag boddi!
O achub, storm echrys! Pa le mae tosturi?
Ow! wele hwy'n suddo i ddyfnfedd y weilgi!
Ond pwy ydyw ef sydd o'r tonau aflonydd
Yn taflu ei olwg trwy ddeigr ar y glenydd?
Dewr forwr Cymreig yw, a hwyliodd yn wrol
Er llawer caledi dros foroedd ymledol.
Mae'n gweled y llenyrch gan gofion gyssegrwyd,
A simdde y bwthyn bach dedwydd lle 'i magwyd.
Mae 'i galon yn chwyddo! O clywer ei oerlef!
Rhaid marw er trwm aeth yn ymyl ei artref!
Mae'r rhelyw yn suddo yn mreichiau eu gilydd,
A'r storm yn crochfloeddio'u gorphwysgân i'r moelydd!

Lledaenodd y dydd dros y ddaear yn llwydlaith,
Arafodd am ennyd y dymhestl gref;

Cawd rhai wedi glanio yn fyw 'n ol anobaith
  Yn moli trugaredd dirionfad y nef.

O'r "Charter" fawreddog a'i heres drysorau,
  Ond olion a geid ar y draethell ddihedd;
Y tonau yn ddiddig a lyfent y creigiau,
  Lle cafodd y canoedd eu tywyll oer fedd.

Bendithion y nefoedd yn fyrdd fo yn disgyn,
  I'w gweision fu'n estyn eu cymhorth o serch
I noddi'r trueiniaid achubwyd o'r llynclyn,
  'Nol dioddef rhyferthwy y dymmestl erch.

Gorphwysed am ennyd yr oerion weddillion
  A roddwyd er galar mewn daear dan gudd,
A'r rhelyw sydd eto yn nyfnfedd yr eigion,
  Nes tynir pob llwchyn o'i garchar yn rhydd.

---

# PRYDFERTHWCH ANIAN.

---

O anian dlos! dyweddi'r bardd!
Erioed y mae dy wyneb hardd
Yn ddrych anwyldeb cun!
O anian fawr! athrawes byd,
Prydferthwch wrth dy firain bryd,
Erioed a luniodd ddelw ei hun!
O anian fyg! llawforwyn santaidd nef!
Mae acen bro'r Perffeithrwydd yn dy ddystaw lef.

A gaf fi ar dy allor lân
Offrymu'n llon fy ngwylaidd gân,
Dan wen dy ysbryd cu?
A gaf anadlu arogl mwyn,
Dy gyssegr cudd, a gwybod swyn
Dy hygar riniau dyfnion di?
Mewn un blodeuyn ar dy laeswisg werdd,
Mae mwy prydferthwch nag a gynwys dynol gerdd.

Er brigwyn oesau'r amser gynt,
Mae trem edmygedd ar dy hynt,
Hyd rawdiau'th eang lys:
A thra bo gwlithyn ar y rhos,
Neu seren gan ar ael y nos,
Yn gleinio wrth d' orch'mynol wŷs.
Bydd teyrnged ymserch byd wrth sedd dy fri,
A cheinion pob prydferthwch wna'th goronbleth di.

Pa le mae cuddle dy ddirgelaidd swyn?
Pa le datguddir rhiniau pur dy urdd,
A grym anwyldeb dy brydferthwch hoff?
Ai yn yr wybr las sy'n estyn draw
I wagle'r annherfynol pell, lle mae
Y ser ar noson daw'n anneirif lu
Yn llathru mewn ysplander wrth roi trem
Naill ar y llall, a phob edrychiad fel
Yn fflachio tân gan nerth tanbeidrwydd byw
Eu gilydd? Ai yn rhawd cylchdeithiau maith
Y lleuad gân sydd megys banon ŵyl
Yn symud drwy wersyllfa llu y gwawl;
Neu o fewn cantell yr arianrod wen,
Lle treigl planedau yn y nyfel ter
Gan fesur hyd ei cylch â phelydr haul,
Y mae cyffesgell dy gyfrinach fwyn?
Mae syn brydferthwch yn y nefoedd fry!
Ond mae prydferthwch hefyd ar y llawr;
Paham nad allai yma fod dy sedd?
Nid rhaid i anian yw, er bod yn hardd,
Drigo o hyd yn ystafelloedd cain
Y fochgoch wawrddydd neu ymdrwsio'n wastad
Yn nglas a phorphor nawn-gymylau haf,
Neu drochi'i llaeswallt fyth, ar fachlud haul,
Yn nhonau'r euraidd li sy'n chwyddo i'r lan,
Ar ambell echwydd, dros y gorwel draw,
Nes gwneud y cymyl fel ysgyrion byd
Yn nofio'n drwm mewn mor o aur toddedig.
Na, hi all drigo gyda'r isel bach—

Y briall serchog del yn mol y clawdd,
Neu'r swynfri bychan ar y twmpath glas,
Neu'r mwswgl llwydwyn ar ryw arw graig,
Ac eto bod yn brydferth—ie'r llwch
A sethrir beunydd dan ein trystiog draed
Sy'n llawn o berlau ei choronau hi!
Mae anian yn y nefoedd fry uwchben:
Mae yma hefyd yn ngronynau'r gro,
A'r isel fel yr uchel oll yn hardd;
Ar aden gloyn fel ysblander byd
Mae llun Prydferthwch,—ond pa le mae'r swyn?
Paham mae pobpeth—lliw a llun—yn brydferth?
Awelon gwanwyn gludant arogl per
Ail fywyd dros y tir; a blagur gwyrdd
Cyfrodeddedig a blodionos mân
Yn llu aneirif, yw'r hardd fantell roir
Gan anian hael am yr ieueng-las fyd.
Pryd hyn mae holl delynau natur lon
A'u tanau'n dŷn i gyd; amneidiol wên
Yr huan ter gynhyrfa'r prydferth gôr
Nes gwneyd y ddaear oll yn deml peroriaeth.
O grib y graig lle crychia'r loew nant
Arianaidd ewyn, ac o ddeildy'r glyn
Lle mae y fronfraith ar helygen ir
Yn arllwys nwyfiant bron mewn ffrwd o fawl,
Ac o lonyddwch y lâs goedwig draw
Lle mae pob deilen a phob seinber edn
Yn cydgaroli yn yr anthem fwyn,
Nes bo'r awelon yn llethedig bron

Dan lwyth o foliant, sydd yn chwyddo'n un
O bob cyfeiriad—mynydd, dol, a rhos—
Gan gipio sisial tonau'r cefnfor gwâr
A chodi fry'n un gân at orsedd Ior;
Dylifa seiniau y gyfundon lwys
Nes uno lleisiau byd a chlodydd nef.
Mor brydferth ydyw anian 'nawr, ond dos,
Gad iddi lithro dros wyrddlesni'r Haf,
Trwy ganol ystorfeydd campweithiau'i llys—
Teleidion gwych ei harddangosfa hi—
Cyflawnder harddwch yr hardd greirfa fawr—
A gwledda ar aeddfedrwydd Hydref blydd,
Nes bo'r olwynion araf eto'n troi,
A chwaon oer angeuol diwedd dydd
Yn dod i mewn, nes gwywo'r llysiau per;
A'r haul yn tynu ato 'i ddyddgylch byr,
Gan ildio'r maes i'r barug oer a'r gwyll,
A graddol roddi ffordd i'r gauaf du.
Pa beth bryd hyn? A fydd hi eto'n brydferth?
Y doldir gwastad, lle mae'r gwartheg gwâr
Yn gorwedd mewn llonyddwch, sydd yn awr
Yn rhoddi heibio'r cwrlid gwyrdd, oedd gynt
Dan ddafnau'r llachar wlith ar foreu teg,
Fel drudfawr len dan fyrdd o berlau mân,
Ac yn ymlwydo i ryw gneuliw blydd,
Cydweddol â'r dwyseiddiwch tawel prudd
Sydd yn ymledu trwy'r olygfa i gyd.
Mae'r gwrychoedd croes yn gwisgo rhuddlwyd wawr,
A'r holl goedwigoedd wedi'u paentio'n ddwfn,

A lliw porfforaidd amwawr teg, a'u gwedd
Fel yn aeddfedu i farw; ac hyd yn nod
Y drysi sydd yn cael ei wneud yn fwyn,
A lleddf a thyner yn ei ddrych bryd hyn!
Mae clog gorwychder breiniol dros y wlad,
A'r barug gwyn yn hongian yma a thraw,
Fel brodwaith ariant yn ei arwe cain.
O anian fwyn! mor hardd wyt pan yn marw!
O un i un y dail a ddont i'w bedd—
Hen feddrod cenedlaethau ei hynafiaid
Cladder hwy'n esmwyth, a rhoer deigryn mwyn
I wlychu 'u llwch; ond Harddwch sydd yn fyw.
Edrycher arni yn nghol y gauaf oer
Yn estyn allan y pibonwy glain,
Neu yn ymrolio ar yr eira càn,
Gan foldio'i arwedd i bob prydferth lun,
A chlymu gemau ar ei ganaid fron.
O ydyw! mae Prydferthwch eto'n fyw;
A byw bob amser fydd, tra anian fawr
Yn methu gwadu ei hun; mewn storm a thes—
Mewn tymestl a thawelwch fyth yr un—
Rhaid yw i anian fod yn hardd, ie, pan
Mae tew gymylau fel yn tynu'r wybr
I lawr gan orbwys eu trydanol lid,
A natur fel yn dal ei hanadl wan,
Ac yn yswatio cyn y ddyrnod drom:
A phan ar sydyn amnaid mellten wyllt
Yn fforchog saethu trwy yr awyr fwll,
Y rhuthra'r daran o'i chastelloedd cudd,

A'i thrwst fel pe yn rhwygo muriau'r byd
Gan hollti'r cymyl nes bo'r dylif certh
A'r cenllusg yn ymdywallt ar y llawr,
A'r mellt picellawg, ffyrnig eto'n gwau,
A chroch ruadau y taranau'n uwch
Ac eto'n uwch, nes bo'r rhyferthwy mawr
Fel pe'n dadymchwel nefoedd fawr ei hun!
O mor ofnadwy mewn prydferthwch mae!
Arddunol harddwch anian pan fo nerth
Hollalluawgrwydd yn ei threm yw hyn!

Ystorm a hinon, môr a thir,
  Ymgollant mewn prydferthwch;
Fel yr ymdodda'r enfys fry
  A'i ben mewn nef o harddwch.
Dihysbydd ydyw anian fawr,
  Heb derfyn ar ei cheinder,
A'i gwedd mor berffaith ag oedd gynt
  Ar ddechreu treigliad amser.

Edrychais ar y rhosyn ddoe—
  Edrychaf arno heddyw:
Oedd rosyn ddoe—mae'n rhosyn 'nawr
  A hardd—O hardded!—ydyw?
Er cynnefino ag anian deg,
  Mae'i harddwch byth yn newydd:
Nid oes alaru ar ei gwedd,
  Na blino ar ei chynnydd.

Os prudd fy mron, bydd hithau'n brudd,
Os dedwydd, dedwydd hithau:
Rhof derfysg mynwes iddi hi,
Rhydd hithau hedd i minnau.
Caf gydymdeimlad gan y gwynt,
Fe gwyna yr awelon,
Pan gwynaf fi, a chanant hwy
Os cân fydd yn fy nghalon.

Ond O! pa le mae swynfan
Dadguddiad harddwch anian,
Lle mae'n egluro 'i hunan,
A'i holl brydferthwch hi?
A gaf fi yn ei deddfau,
Trwy dreiddio i'w dyfnderau,
Ddeongliad o arweddau
Amryfal teg ei bri?

Mae harddwch â'i haur-dorchau
Yn rhwymo ' nghyd ei deddfau,
A'u heres amlygiadau
Yn gwlwm wrthi ei hun.
Nid oes yn mro'r dirgelwch,
Ar leni'r holl gywreiniwch,
Ond olion llaw Prydferthwch,
O hyd yn tynu ei llun.

Nis gwn pa le mae'r swynfan,
Ai oddimewn neu allan,

Neu ynte'n llenwi pobman,
  Ond swyn gynhesa'm bron:
A rhoer imi ymddedwyddu,
Wrth deimlo 'i rhin yn denu,
Fy nghalon lesg i ganu,
  O hyd am harddwch hon.

Dadguddia anian ganaid,
Dy harddwch drud i'm henaid,
A chyfarwydda'm llygaid
  Yn nghyfrin nodau'th wedd.
Wrth dy Brydferthwch mwyngu,
Caf ganu a rhyfeddu,
Tra'm hysbryd yn mawrygu
  Y Duwdod ar dy sedd.

---

# YR IECHYDWRIAETH.*

Dyn yn ei wae orweddai
Dan len euogrwydd du,
Gan edrych trwy ei ddagrau
Yn ol tuag Eden gu;
Ond haint ofnadwy pechod
A bylai'i dremiad dwys,
Ac oerias erch marwolaeth
A rewai ffrydiau'i hiraeth,
A baich angeuol alaeth
A'i llethai dan ei bwys.

Ond llygad gras a'i canfu
Oddiar yr orsedd wèn;
A thaflodd claerwên cariad
Ei phelydr trwy y llen:
A thra'r oedd gwaedd dialedd
Yn rhwygo ar ei glyw,
Fe glywid llais arianaidd
Yn sibrwd wrtho'n fwynaidd,
Tro yma'th olwg bruddaidd,
Gweddia—cred—bydd fyw!

Gostegai'r twrf condemniol
Yn swn y geiriau mwyn;

* Ymddangosodd cân arall gan yr un awdwr, ar yr un testun, yn y "*Beirniad*," cyf. iii., tudal. 261.

Petrusai yntau, a gwenai,
  Ac wylai dan eu swyn:
Edrychai a gwrandawai
  Mewn syndod a mwynhad,
Tra swniai'r geiriau grasol—
Tra gwenai'r goleu siriol,
Nes iddo'n edifeiriol
  Adnabod Duw yn Dad.

Gwasgarai'r niwl gorchuddiol,
  A gwelai yntau'r *groes*,
A'r un dieuog arni
  Yn marw dan ei loes:
Ymgrymai ac addolai
  Mewn diolchgarwch llawn,
A theimlai rin ailfywyd
Yn treiddio trwy ei ysbryd,
Wrth ganfod yn agoryd
  O'i flaen olygfa'r Iawn.

Mae llygaid ffydd yn edrych
  Yn ol i'r arfaeth hên,
Cyn gleinio o'r gwyll dechreuol
  Dan greadigol wên;
Gwel eto byrth Paradwys,
  A'i glwyslon ddedwydd dir,
A Chariad a Chyfiawnder
Yn gwenu yn y gloewder,
A gylchai'r wynfa hardd-ber,
  Lle cafwyd dyn yn bur.

Edrycha'n mlaen a chenfydd
  Y lon " Baradwys well,"
Ar ol i'r ddaear farw
  Yn y dyfodiant pell;
Fan yma'r erys yntau
  Yn y canol-bwngc mad,
Lle mae cynlluniau'r arfaeth,
A throion maith rhagluniaeth,
Yn mawrwaith prynedigaeth,
  Yn cael eu heglurhad.

Mae'n gwel'd yr Iesu yno
  Yn marw yn ein lle—
Y marw pur, dibechod
  A synai engyl ne' !
Fan yna rhoddai'r Ceidwad
  Ei einioes lân ei hun !
Cyfiawnder claer yr orsedd
Gydwylai a Thrugaredd,
Uwch ben y marw rhyfedd,
  Ennillai fywyd dyn.

Nid oes dim damnio mwyach
  I euog blentyn ffydd;
Mae'r pechod wedi'i ddamnio,
  Pechadur yntau'n rhydd !
Fe ymddyrchafodd Cariad
  Anfeidrol ar y groes

I roddi llawn faddeuant,
Mawrhau y pur ogoniant,
A chodi cân y moliant
  Trwy haeddiant marwol loes.

Cawd "Iechydwriaeth gymaint"
  A bywyd marwol ddyn,
Ie, "Iechydwriaeth gymaint"
  A haeddiant Duw ei hun!
Mae enfys gorsedd Duwdod
  Am dani 'n wregys gu;
Ac ynddi ceir santeiddrwydd,
Gogoniant a pherffeithrwydd,
A choron glan fytholrwydd
  I'w gwaredigol lu.

Er gorwedd mewn trueni,
  O'r euog aflan fyd;
Mae ffynon wedi ei hagor
  A'i gylch yn lân i gyd.
Wrth edrych o Galfaria
  Fe'i gwelir oll yn wyn,
Heb smotiau llygredigaeth
Yn hagru delw'i dalaeth—
Trwy rin yr Iechydwriaeth
  Yn bur fel Sion fryn.

Blodeua yr anialwch,
  A ffrydia 'r anial cras:
Adseinia 'r byd ganiadau
  Llon waredigion gras;

A chyfyd "haul cyfiawnder"
  Uwch ben y glwysfad gôr,
Gan fflamio mewn ysblander,
A gwasgar trwy 'r eangder,
Ei "feddyginiaeth" dyner
  Dros wyneb tir a môr.

Ca'dd buddygoliaeth Cariad
  Ei hennill ar y groes;
Ac yma 'r Iechydwriaeth
  Ga'i nerth o oes i oes.
Ymdreigla'r cenedlaethau
  Yn mlaen 'n ol cynghor Duw,
A gwelir yn dadlenu
Anfeidrol ras a gallu,
Yn Iechydwriaeth teulu
  Syrthiedig dynolryw.

# Y DAEARGRYN.

"Oddiwrth Arglwydd y lluoedd y gofwyir trwy daranau, a thrwy ddaeargryn a thwrf mawr; trwy gorwynt, a thymestl, a fflam dân ysol."—Esay.

O anian fawr! mor gadarn ydwyt ti!
Mae diysgogrwydd a mawreddus fri
Yn arluniedig ar dy ddinwyd wedd;
A Gallu ei hun yn gwylio sail dy sedd!
Arddunol wyt! a cher dy fron yn syn
Y safaf, gan ryfeddu pant a bryn,
A chraig, a rhaiadr, awyr, llwyn, a lli',
A dirif ryfeddodau 'th nerthoedd di.
Mor fawr yr wyt nes mae 'r dychymyg gwan,
Yn fynych ar ei ymdaith hoff i'r lan
I'r glas ororau a'r diderfyn draw,
Yn llaesu aden mewn dirdynol fraw,
Cyn myned heibio i'th gynteddau maith
I ŵydd yr Hwn nad ydwyt ond ei waith.

Mor brydferth yw tawelwch nerth difeth
Dy weithrediadau yn mhob bychan beth!
Pan dd'wedi wrth y lili, Bydd yn wyn,
A thrwsia 'th dlysni uwch mân donau 'r llyn;
Neu wrth y briall, Gwena ar wisg y ddol,
A dal y gwlithyn yn dy dyner gol.
Ac mor ofnadwy dy fawreddus hynt,
Pan gylch dy sedd y rhuthra 'r storm a'r gwynt—
Pan wrth dy anadl yr ewyna'r aig,
A than dy droediad y dirgryna 'r graig!

O! mae adegau pan mae megys gwrid
Yn codi i'th wyneb, ac angerddol lid
Yn chwyddo a chynddeiriogi dan dy fron,
A chreulawn fâr yn siglo 'r ddaear gron!
Pa beth ddywedaf am yr echrys wŷn
Ymrwyga o'th fewn yn nhwrf y daear-gryn?

Y nos esgynai gyda chamrau dystaw,
I orsedd wag y dydd oedd draw 'n ymgiliaw;
Y deg ollrewyn wisgai aur a pherlau,
A'i holaf wên gusanai ael y bryniau;
Y ser ddoent allan yn y ddulas ddwyrain,
Yn un ac un, fel tlysau ar frodwaith cywrain;
Yr adar hedent oll i'w nythfan dawel,
A'u holaf gân ddystewai ar glust yr awel;
Y gwartheg mwyn orweddent ar y doldir,
A'r llanc cariadlawn frysiai at ei feinir;
Y pentref ymlonyddai i noswylio,
Ac ambell ffenestr fach yn llon eleuo
Gan oleu'r ganwyll wan a daflai lewyrch
Ar draws yr hwyr, fel pe yn ofer chwenych
Arafu rhawd y didrwst brudd gysgodion,
Ac eilio'r ser a wenent o'r uchelion.
Fel hyn y nos ddynesai'n araf-lonydd;
A'r byd o dan ei swyn yswatiai'n ufydd.
Blin feibion llafur ymorphwysent weithion,
A melus gwsg orchfygai'r iach ei galon.
Symudai'r oriau'n mlaen â chamrau dystaw,
A'r hen ddallhuan hithau beidiai stwriaw!

Y storm giliasai'n mhell i'w dwfn gilfachau,
A'r corwynt hunai'n drwm o dan y tonau.
Ni chlywid llais i dori'r dwfn dawelwch;
A'r ser uwch ben braidd gysgent yn eu harddwch.
Ond O! ar eiliad, dyna dwrf brawychus!
Fel taran enfawr, ddwfn, a llef wylofus
Yn gymblethedig ynddo, yn ymrwygo
Ar draws y dawel nos, gan ail ymchwyddo,
A prudd odyrddain yn y pellder acw,
Fel pe bai anian gyda'r och yn marw!
Ac o echryswae! dyna'r byd yn dymchwel!
A'i lwynau'n crynu i gyd o gyrau'r gorwel!
Colofnau'r bryniau sydd fel pe'n ymddattod!
A'r ddaear fawr yn crynu mewn dychryndod!
Am fynud eto dyma seibiant melus,
A'r byd lonydda wedi'r twrf brawychus.
Ond Ow! ail godi mae y don gynddeiriog!
Ac anian gryna rhag ei gyrnaid lidiog!
Fel truan euog pan ar gael y ddyrnod,
Saif hithau'n hurt a llwfr mewn mud syfrdandod.
Ymchwydda 'i bron gan angerdd dwfn ei dychryn,
A chryma 'i gwar o dan yr orthrech sydyn.
Ac wele'r ddyrnod! dyrnod cryndod anian!
Ac alaeth flwng y maith fydysawd cyfan!
Ymrwyfa'r byd ar draws ei bell begynau,
A dettyd cryfder ei ddwfn gadarn seiliau.
Mewn dychryn saif yn wyneb tranc anaele;
A'i fedd yn agor yn nyfnderau'r gwagle!

Aeth heibio fel y daeth! Ochenaid brudd,
Ofnadwy, erchyll a'i canlynai i ffwrdd.
Nid oes o'i ol ond hurtrwydd gwag a braw!
Ac eisoes fel rhyw freuddwyd yn y meddwl mae
Yr alaeth flin, a theimlad gŵyl y sydd
Yn nghanol ofn, o'r waredigaeth fawr.
Gwaith enyd fechan! Mor ofnadwy yw!
Y milod amryw ar y llydan faes—
Y gwyllt a'r gwar—ynt orlethedig oll:
Anghofiant drefn naturiaeth yn eu braw.
Y llew ni rua am ysglyfaeth nan,
A'r ewyg ofnog sydd mor gryf ag ef.
Gwel acw graig—cadarngraig 'sgythrog ddu,
Oedd wedi dal yn hyf trwy'r oesau'n mlaen
Bob cyfnewidiad—tesni llawer haf,
A stormydd llawer gauaf yn eu bar:
Bu llawer cwmwl cuchiog gylch ei phen,
A llawer mellten wyllt yn deifio'i gwedd;
Ond trwyddynt oll hi ddaliai'n ddewr a chryf.
Ac eto heddyw, wele hi, y graig
Heriasai bob cynddaredd filwaith gynt,
Yn gorwedd 'nawr yn garn ddrylliedig hagr!
Ei nerth faluriwyd gan y ddaeargryn.
O'i blaen y môr—yr eang, gadarn for—
Orweddai megis hurtyn ger ei bron.
Ei dònau daflwyd, a'i holl nerthoedd cudd
Derfysgwyd, fathrwyd gan y ddyrnod drom:
Mae eto heb ddadebru'n llonydd syn!
A'r lluoedd hwyliant ar ei ddyfnder maith

Ryfeddant gydag ofn yr hyn a fu !
Y mynydd yntau, hen a chadarn oedd :
Dros fil o genedlaethau bu'n ei nerth.
Ond wele, trechwyd ef! Y ddaeargryn
A'i rhwygodd, ac a'i hagrodd hyd ei sail.
Gerbron mae tref, neu'n hytrach adfael tref—
A fu cyn hyn yn hardd, a swynion fyrdd
Yn hulio ei heolydd ar bob llaw,
Palasau, temlau, a chof-adeiliau'n llu
Yn gorwedd heddyw'n garnedd ddiraen, lwyd :
O'u mewn bu llawer calon gynt yn llon,
A mwyniant yn sirioli llawer gwedd ;
Ond ar amrantiad daeth eu gofwy erch,
A chladdwyd eu gobeithion dan y garn.
Gweddiai rhai, a chablai ereill pan
Ddymchwelwyd hwynt ar unwaith i'w du-fedd.
Y teithiwr heddyw sigla'i ben yn syn
Uwch difrod awr, a d'wed Manilla fu !*
Paham y darfu yr alanas hon ?
O b'le y daeth ? ac i ba ddyben oedd ?
Pwy wel fanylion ei gweithredoedd hi ?
Pa le mae'r doeth ? a'r hwn a'i ddeall sydd
Yn ymfalchio mewn dysgeidiaeth fawr ?
Dos, gofyn iddynt hwy, benaethiaid byd :
Yswilio wnant a thewi megys ffol.
Dos, gofyn i'r cyfanfyd eang pell :
Yswatia yntau, a gorwedda'n fud.

* Llwyr ddinystriwyd Manilla yn ddiweddar gan ddaeargryn.

Yn olaf dos at ffydd, a dywed hi,
"Fy Nuw a'i gwnaeth, a phob peth wnaeth sydd dda."
Ymeifl hi yn llaw yr awen wan,
Gan godi hon i'r sanctaidd gyssegr fry,
Lle trig goleuni yn oes oesoedd fyth.
Agora 'i llygaid nes y gwel yn awr
A golwg adgof, angel glwys ei wedd
Yn derbyn gwŷs oddiar yr orsedd wen
I wneyd gorch'mynion Duw i'n daear ni.
Ef leda'i aden gyda hyfryd wen,
Ac megys pelydr o oleuni â
Trwy'r eangderau nes i'n golwg daw,
Ymsaetha i'r dyfnderoedd lle mae nos
A phrudd dawelwch yn trigiannu fyth.
Ymlaen yr â nes dod i ddieithr le
Ysblenydd, harddwych, eang, cadarn, gwag,
Yn amgylchedig gan ryw greigiau claer,
Amryliw, hardd-deg, gwerthfawrocach nag
Un saphir, deimwnt, neu goethusaf berl
A welodd llygad balchder dyn erioed.
O'i fewn y trig y nwyau hylif, gwyllt,
A'r nerthoedd enfawr sy'n ysgogi'r byd.
Yr angel saif, gan agor ddysglaer ddor
Yn ymyl man lle troa fflamau gwyrdd
Fel seirph troellog gylch colofnau mawr
O emwaith cyfan megys pyst o iâ.
Gorch'myna i ryw nerthoedd fyned trwy
Y ddor agored; yna ar echrys ffrwst,
Ymruthrant drwodd gydag enfawr swn.

Yr holl golofnau siglant megys tant
Y delyn pan darewir ef yn drwm
Gan law'r awenydd; a daw rhyfedd swn
Arddunol ac ofnadwy rhyngddynt hwy.
Pryd hyn y sigla'r ddaear, gwelwa'r byd.
Edrycha'r angel ar y terfysg syn,
A chaua'r ddor, gan ail orchymyn taw:
Ac yna lleda'i aden, heda fry;
A chlywir ef yn canu melus gân,
Wrth fyn'd i mewn i sanctaidd lys y nef,
Nas gall tafodiaith dyn ei dal yn llawn:

"Yr Arglwydd wnaeth yn rhyfedd:
O hono Ef y daw
Yr ofwy trwy daranau,
A'r twrf sy'n peri braw;
Efe sy'n gwneud daeargryn,
A chorwynt, tymhestl, tân,
Yr Arglwydd, Duw y lluoedd,
Ei fawredd yw fy nghân."

---

# MAB Y WEDDW O NAIN.

---

Diwrnod du a ddaeth
  Ar Nain y dreflan lon:
Diwrnod du a thywyll
  I'r weddw dyner fron.
Nid cwmwl oedd ar Tabor,
  Ond cwmwl ar ei thŷ—
Du gwmwl tew a'i oerlen
  Yn cuddio'r nefoedd fry!

Mae'n gorwedd ger ei bron
  Yn welw, gwael ei lun,
Yn ddystaw, oer—yn farw,
  Ei anwyl unig un!
Yr un a gydgrynoai
  Ei chariad o bob lle,
I lynu 'n gwbl ynddo,—
  Doedd ganddi ond efe!

Magasai ef ei hun,
  Cai ynddo'i holl fwynhad,
Ac O! fel chwydda 'i mynwes
  Wrth gofio am ei dad!
Drwy hirfaith weddwdod unig,
  Ei mab a gariai 'n gu,

Ac ef gusanai 'r dagrau
  Oddiar ei gruddiau hi.

Ei phryder oedd ei mab,
  A'i llonder is y nef;
Ei bywyd oedd ei bachgen,
  A'i byd i gyd oedd ef.
Hi ganai iddo 'n faban,
  Hi wenai arno 'n ddyn;
Ei holl fodolaeth dyfai
  Yn rywbeth wrtho'n nglyn.

Pan ddeuai 'i mewn i'r tŷ,
  A'i wên fel gwên ei dad;
O! 'r hiraeth a'r anwyldeb,
  Y dagrau a'r mwynhad!
Ac fel 'roedd yn cynyddu
  Mewn rhinwedd, dysg, a dawn,
Cynhyddai ei dedwyddwch
  Nes oedd ei bron yn llawn.

Ond ow! tywyllwch ddaeth
  Ar fwyn ganolddydd haf!
Dychrynai'r weddw dirion
  Pan syrthiai'r mab yn glaf.
Ond daeth angeuol ddyrnod—
  Clywch ei wylofus gri!
Bu farw 'i mab, bu farw!
  A marw ei gobaith hi!

Fy mab! O fy mab! Fy anwylyd!
  Ai marw—ai marw dydi?
Ai ti sydd yn farw neu ynte
  Freuddwydio wrth farw 'rwyf fi?
O ddyfnloes fy nghalon ddrylliedig!
  O wagder unigrwydd fy rhan!
Wyf ddieithr ar wyneb y ddaear,
  Yn weddw, ac unig a gwan!

Pa fodd mae ymadael, f'anwylyd?
  Pa fodd y'th adawaf mewn bedd?
Ond O! nid tydi a fydd yno—
  Wyt einoes yn ysbryd mewn hedd!

Galerwch am danaf, fy mhobl,
  Canys galar yw bywyd i mi:
Yr Arglwydd a'm gwnaeth yn amddifad,
  Fe anghyfaneddodd fy nhŷ.

II.

Yn araf dygid allan
  Y marw at y bedd:
'Roedd gloes yn mron y dyrfa,
  A thristwch ar ei gwedd.
Ond un oedd yno deimlai
  Ei gloes yn gwasgu am
Ei henaid megys angau—
  Hi deimlai dristwch mam.

Ac wele Un yn nesu
  Gan wrando ar ei chri,

Sy'n gwel'd ei chalon ddrylliog—
  Sy'n teimlo 'i galar hi;
Mae 'i santaidd wedd yn newid,
  Mae deigryn ar ei rudd,
Mae cydymdeimlad Duwdod
  Yn chwyddo'i fynwes gudd.

Yn synllyd ei ganlynwyr
  Edrychant ar ei wedd;
Yn araf daw'r orymdaith
  Gan wylo tua'r bedd.
Yr Iesu dd'wed yn dirion,
  "Nac wyla," wrth y fam;
A'i hysbryd llesg adfywia
  O'i mewn, nis gwyr paham.

Dwys sylla gyda thaerni
  I'w sanctaidd wyneb Ef;
A'i chalon ddywed wrthi,
  Hwn yw Eneiniog nef.
Mae cariad yn adnabod
  Yr hwn sy'n gariad pur,
A'r enaid archolledig
  Yn gwel'd y Meddyg gwir.

Efe â heibio'n araf,
  Ac at yr elor brudd;
A saif ger bron y marw
  A'i ddeigryn ar ei rudd;

Llefara mewn awdurdod,
  Nes deffro'r marwol glyw—
Dirgryna teyrnas angeu,
  Ac wele'r marw'n fyw !

Y bobl a edrychant
  Yn ofnus, dystaw, syn ;
A'r marw gwyd i'w eistedd
  Mewn caeth amwisgoedd tyn !
Llefara wrth ei gludwyr,
  A hwy â chrynllyd law
Ddattodant ei rwymynau,
  Gan fethu'n hir mewn braw.

Un olwg ar yr Iesu,
  O ddwys addoliant pur ;
Un frysiog drem o amgylch,
  Ac un anadliad hir ;
Ac wele'r hwn oedd farw,
  Ag esgud, lawen lam,
Yn dechreu byw ail fywyd
  Ar fynwes gynhes mam.

III.

Yn araf y dygent hwy allan
  Y marw, a'u calon yn friw ;
Yn araf mewn synddwys orfoledd
  Dychwelant a'r marw yn fyw.
Y weddw oedd gynneu'n galaru—
  Pwy ddirnad ei theimlad o hedd

Wrth arwain yn ol yr un anwyl
  A gludid mewn hiraeth i'w fedd.

Ammheuaeth wrthddadleu â syndod,
  Edmygedd gydymdrech â braw,
Yn nghythrwfl teimladau y lliaws
  Sy'n hulio y ffordd ar bob llaw.
Ond llais gorfoleddus y weddw,
  A'r un adgyfodwyd yn fyw,
Gyd-ddyrchant mewn moliant a diolch
  Am fawrwyrth waredol eu Duw.

Yr Arglwydd a wnaeth bethau rhyfedd,
  Molianwn, molianwn ein Ior!
Trachefn yr ymwelodd â'i bobl!
  Mae'r hen drugareddau'n ystor.
Efe sydd yn gwneyd rhyfeddodau,
  A'i amser nodedig a ddaeth;
Gwrandawodd ar waedd y cystuddiol,
  A thorodd holl rwymau y caeth.

---

# CAN Y CAETHWAS.

---

Ar lan y Mississippi,
  A gludai 'i dyfroedd trwy
Y tir, fel mor llifeiriol
  Yn treiglo i for sydd fwy,
Mae bod a eilw 'r Duwdod
  Yn ddyn —Efe a'i gwnaeth;
Rho'wd anadl Duwdod ynddo,
  P'odd gelwir hwn yn gaeth ?

Y Crewr ni wnaeth gaethwas
  Erioed ar ddelw dyn:
Y diafol ni all rwymo
  Y neb na rwyma 'i hun:
Pwy feiddiodd ynte nodi
  Urddas-fraint hwn â gwawd ?
O gwrided wyneb cythraul,
  Fe 'i gwnaed yn gaeth gan frawd!

Fe 'i ganwyd draw yn Affric,
  Ger y Sahara mawr;
Lle teifl hen Atlas feichus
  Ei gysgod dros y llawr.
Bu 'n mynych droedio'r anial
  A llonder ar ei ael,

Pan mewn unigedd disang,
  Ei fwa oedd ei fael.

Ysgafndroed oedd fel ewig
  Yn llamu rhwng y gwydd,
A dewr-falch fel y llewod
  A ruent yno 'n rhydd:
Tal-ystwyth fel y pinwydd
  A blygent uwch ei ben,
A dedwydd fel yr ednod
  Garolent ar bob pren.

Ond fel dinystriol yrwynt
  Ar draws y gwron daeth
Croes chwaon o aflwyddiant,
  A galwyd ef yn *gaeth.*
'Roedd iddo ddau a garai
  Yn fwy nag ef ei hun,
Ei hardd-deg briod ieuanc,
  A'i faban—dyner un!

Pa waeth! 'Roedd 'nawr yn gaethwas
  (Uffernol enw erch),
Ac nid oes hawl gan gaeth-ddyn
  I unrhyw wrthrych serch.
Gwahanwyd hwy yn greulawn—
  Fe dorodd calon un,
A chalon arall sychodd,
  O dyner deimlad dyn!

Ar lanau'r Mississippi,
  O dan ei gur y mae,
Mewn lludded corph yn ochain,
  A nerth meddyliol wae ;
O'i gylch mae hardd-deg feusydd,
  Fel gardd Paradwys bron,
Ond tir caethiwed ydyw,
  A melldith ar ei dôn.

Adgofion ar adgofion
  Sy'n tramwy'i enaid trwy,
A dystaw swyn pob adgof
  Yn rhwygo'i fron yn fwy !
Mae ceinion tir Americ
  Yn clwyfo'i olwg brudd,
Ond cofia geinion Affric
  A garai pan yn rhydd.

Unigol mae yn treulio
  Ei gurfawr oes i ben,
Heb gar na chyfaill iddo—
  Yn alltud is y nen.
Ffynhonell llonder daear
  I hwn a droes yn sur,
Ac nid yw y bydysawd
  Ond maes i gario'i gur !

O fel mae yn ymwingo
  Am gyrchfan ato i ddod !

Yn filyn nis gall deimlo—
  Yn ddyn ni chaiff ef fod;
Oes rhyw sefyllfa ganol?
  Rhoer hono iddo ef:
Paham y treisir bodaeth
  Un gafodd fod o'r nef?

Ha! dacw ef yn plygu
  Ei lin ar noswyl lon,
Tra'r 'llewin haul yn euro
  Y meusydd teg o'r bron.
Pa beth, a yw'n gweddio?
  O gwrando, nefoedd gu!
Daw gweddi o adfeillion
  Twym galon caethwas du!

Fy mrawd, cân Haleliwia—
  Rho heibio'th olwg brudd!
A gwerthfawr waed y'th brynwyd,
  Cei eto ddod yn rhydd!
Y caethwas fedr deimlo—
  A rhydd ei galon lam—
Fod rhyddid yn y nefoedd
  I feibion caethion Ham.

*Ebrill*, 1861.

---

# YR HAF.

(PRYDDESTAWD.)

---

Yr haf! yr haf i mi!
  I ganu yn y tes,
  Neu lechu rhag y gwres,
Hyd lan rhyw loew li,
  Lle byddo coed cysgodfawr
Yn gwneud im' noddfa gu!

Caf ganu fel y nant,
  Sy'n canu am mai cân
  Yw deddf ei bywyd glân,
Wrth suo trwy y pant,
  Gan wahodd cerddgar anian
I chwareu ar lawer tant.

Hawdd canu pan fo'r byd
  Mewn gwen a gwrid ar 'nail,
  A pher gusanau'r haul
Yn 'swilio'r ddaear brid
  Yn nghanol rhwysg ei hafiaeth—
Ei dawns a'i chân i gyd.

O haf! mor deg wyt ti!
  A'th wisg yn wyrddlas lon,
  A'r blodau ar dy fron

Fel perlau yn harddu'th fri,
  A'r glaer ddigwmwl asur
Yn ortho'th fawrwych dŷ.

Mi'th welais pan oeddit yn ieuanc,
  Heb gyrhaedd dy goron a'th sedd,
Yn dyfod ar dro i'n gofwyo,
  Yn dyner ac ofnog dy wedd;
Arweiniai hoff Wanwyn di'n llon-falch
  O amgylch y glyn yn ei llaw,
Ond pan ddeuai'r oerwynt a'r gafod,
  Ti ffoit oddiwrthi mewn braw.

Mor barod y byddem pryd hyny
  I roddi it' groesaw a bri !—
'Roedd dagrau y gauaf yn aros,
  Ond troent yn berlau i ti.
Yr eiriawl wrth farw anadlai
  Berarogl ei fron i ti'n llwyr ;
A'r saffrwm a fynai roi gwên it'
  Serch rhynu'n y rhew yn yr hwyr.

O druan a'r gwanwyn chwareugar !
  Mor chwerw y wylai ar d'ol !
Pan fyddet yn d'ofn wedi ei gadael
  Yn unig ar ganol y ddol !
Doi'r oerwynt i ddrysu ei llaeswallt,
  A'r cesair ysgythrai ei chefn ;

Ond buan anghofiai ei thrallod,
  A chwiliai am danat drachefn!

Hud-ddenai di eilwaith i weled
  Brialli ar ochr y glyn,
Neu lygaid y dydd yn ymagor,
  Neu'r 'spyddaid dan flodau yn wyn.
Ti synet wrth glywed yr adar
  Yn mwynlais berori 'n mhob llwyn;
A braidd nad anghofiet dy hunan
  Yn nghanol chwareuaeth yr ŵyn.

Ti ddaethost mor hoff o'n llanerchau,
  Nes aros o hyd gyda ni;
A'r gwanwyn dibryder, anwylfad,
  R'odd fyny ei choron i ti;
Wyt yma yn awr yn frenines,
  Yn gwisgo mewn mwynder dy urdd—
O na fyddai medd i'th goronbleth
  Barhau heb edwino'n fyth-wyrdd!

Mor hael wyt yn gwisgo dy ddoniau!
  Mor llon ydyw'r byd dan dy wên!
Er amled y 'stormydd a welodd,
  Sisiali'n ei glust nad yw'n hen;
A gwnai iddo deimlo mor ieuanc
  A'r blodyn addurna ei fron,
Gan lyfnu holl rychau 'i wynebpryd,
  A i swyno â'th lygaid byw, llon.

Pan ddaethost 'r oedd llwydrew yn fynych
  Yn ysu 'r blaguryn bach, gwan;
Ond heddyw trwy rin dy dirioni,
  Mae 'i geinder yn addurn y fan.
'Roedd bedd dan yr ywen yn newydd,
  A'r pridd oedd yn goch ar y llawr;
Ond wylaist a gwenaist ti arno—
  Mae blodau'n eu hulio yn awr.

Ti ddenaist y gog o'i chuddfanau,
  A'r wenol yn ol a'i "twi, twi:"
Mae "cwcw" yn adsain trwy'r broydd,
  A'r 'sgythan yn trydar i ti.
Mae'r siobog gorn'cyll yn arwain
  Ei gywion i'r brwyn ar y rhos,
A chana'r uchedydd bob boreu
  I'r nefoedd, aeth heibio y nos!

Fy mron innau etyb y fawlgerdd
  Mae'r 'hedydd yn ganu i'r wawr;
Nid yw ef ond canu 'n fwy melus
  Yr hyn ganaf fi ar y llawr.
Pan egyr cain foreu yr haf-ddydd,
  O fyd! mor ardderchog wyt ti!
Ond ust! dyna'r llaethferch wrth odro
  Yn canu i'r gwartheg dy fri!

Haw! haw! mor fwyn a llon
  Yw'r boreu ar y dolydd!

Mor glaer yw'r hudden wen
  Sy'n nghwsg ar fron y mynydd!
Mae'r gwlith fel myrdd o berlau mân
  Ar wisgoedd prydferth anian;
Ac yn ei chlaerder gwel'd y mae
  Adlewyrch gwenau 'i hunan!

Hai! Cornwen! dere! cwyd!
  Cei gnoi dy gil wrth odro!
O harddwch! y mae'r haul
  Yn gwisgo'r tarth am dano!
Y gwawn tynerlaes groga'n glaer
  Dros lwybrau'r siriol foreu!
A'r adar ganant rhwng y dail
  Roesawgerdd am y goreu!

Fan draw ar odre'r fron,
  Mi welaf y pladurwyr,
Ac Edwyn yn eu plith
  Yn lladd y gwair yn brysur!
Daw amser y cynhauaf 'nawr—
  Mae nghalon i yn curo—
Haw Breithen! Morwyn! tro!
  Mae'n bryd dybenu godro!

O haf! y mae'r gwaenydd yn gwenu,
A'r broydd yn gwisgo gwyrddlesni,
A'r adar mewn nwyfiant yn canu,
  A'r blodau yn agor i ti!
  Mae'r byd fel Paradwys i ti!

Mae bywyd ac yni a llwyddiant,
Digonedd a thegwch a mwyniant,
Yn gwenu ar sedd dy ogoniant;
  Ond O! a oes och genyt ti?
  O haf! a oes marw i ti!

  Clyw! dyna laslanc prudd,
    Yn canu lleddf-don galar
  Uwch bedd ei anwyl fun
    Sy'n oer ar fynwes daear:
  O angeu! meddai'r llanc,
    Beth fynet ti â harddwch?
  Gain haf! mae cwyn ei gân
    Yn rhoi i'n wers o dristwch!

  Ieuenctyd, hoewder, serch,
    Pruddganai'r llanc yn mhellach,
  Er bod fel perlau byd,
    Nid ynt i ti ond sothach:
  Pa beth gan hyny, fedd,
    A fynet â f'anwylyd?
  Hoff haf! mae'r alar-gan
    Yn gwelwi dy wynebpryd!

  Ymfrysia'r morgrug bach,
    A sua'r diwyd wenyn;
  Mae cynhauafwyr llon
    Ar hyd y maes yn chwerthyn:
  Ond O! mae pruddaidd lais
    Yn dweyd am auaf garw,

Ac amdo o farug oer
  I ti pan wedi marw!

Rhaid marw, anwyl haf!
  Mor siomgar ydyw'r byd!
Ni fyddai haf yn haf,
  Pe byddai haf o hyd.
Diolchaf ar dy fedd,
  Gain haf! am i ti fyw,
A dangos im' dy wyneb mwyn,
  Lân angel oddiwrth Dduw!

---

# DAROGAN TALIESIN.

(CYMMYSG-GERDD.)

(**Golygfa**—Glân y môr—Lluaws o bobl yn ymddifyru ar hyd y traeth yn amser gwyliau "Yr Eisteddfod," ac yn ffurfio y gynhadledd a ganlyn.)

*Telynor yn chwareu ac yn canu:—*

Hoff delyn yr henwlad—mae'th swynion yn fyw,
Er cysgu yn hir ar dy danau;
A'r ysbryd a'u cludai mor hudol i'r clyw,
Sydd eto yn gwarchod dy seiniau.
Mae adlais cynoesau'n cyssegru dy gân,
A llais fel yn d'od o'r dyfodol:
Mae'th rin fel gwreichionen o ryw sanctaidd dân,
Sy'n llosgi ar allor dragwyddol.

Mae llais mawrfrydigrwydd yr hen oesau gynt
Yn swnio mewn cynghân a'th fwyndôn,
A'r dewrfloedd Gwladgarwch yn marchog y gwynt,
Mewn ateb i drydan d'awelon.
Mae mil o galonau er marw yn fyw,
Yn curo yn siffrwd dy danau;
Ac nid oes un tant ar dy fynwes nad yw
Wedi ei gyffwrdd gan ysbryd y tadau.

Ond O! y mae'r tadau eu hunain yn fud
Dan garnedd adfeilion yr oesau;
Ac adgof bruddglwyfus a dd'wed wrth y byd
Orchestion eu bywyd a'u hangau!

A'r breintiau warchodent â'u heinioes i ni,
  Sy'n gorwedd yn sarn ar eu beddrod—
O delyn! mae'th swynion yn gwneyd i fawr fri,
  A gwaeledd fy ngwlad gydgyfarfod.

*Bardd yn ateb:—*

Paham y mae cwyn ar y delyn?
  Paham mae yr Awen yn brudd?
Paham mae ochenaid yn dilyn
  Y lwysdôn i glustiau y dydd?
Ai adgof sydd draw yn ymlwybro
  Yn mhlith y beddrodau a'r yw;
A'r Awen wrth fwyn gydymdeimlo
  Yn gwisgo'i blodeubleth yn wyw?

O tantiwch y delyn o'r newydd,
  A rhoddwch adloniant i'r gerdd:
Mae'r henwlad yn dal trwy'r ystormydd,
  A'i llawryf yn para yn werdd.
Addawai y cynfardd wyllt Walia
  A'i gelltydd a'i glynoedd i ni,
A'n heniaith yn drysor anwyla',
  I foli ein Ner yn ein bri.

Mae haf-ddydd ein hedd wedi gwawrio,
  Ar ol yr hir auaf a gawd—
Bu olwyn y byd yn ymdreiglo,
  A throes ein hen elyn yn frawd—
Mae Gwalia yn cadw 'i cheninen,
  A'i gwreiddiau'n ymestyn yn hir,

Nes clymu â'r rhos a'r ysgallen,
  A'r meillion yn nyfnder y tir.

Boed mwyach y gân heb och'neidiau,
  Ac alaw y delyn yn llon,
Tra pery yr heniaith a'r bryniau,
  A chalon y Cymro 'n ei fron:
Collasom, â'n colled yn ynnill—
  Ennill'som, â'n hennill yn bla;
Ond troi y mae'r ddaear heb sefyll,
  A Duw sy'n rheoli yn dda.

*Hanesydd:—*

Mi dd'wedaf sut y bu, a sut y mae,
  Cewch chwithau dd'weyd, os mynwch, sut y bydd:
Y genedl hen ddioddefodd fynych wae,
  A thros ei phen aeth llawer niwlog ddydd.
'Does neb a ŵyr pa bryd y daethom ni
  I drigo gyntaf i'n cain ynys gu;
Ein hanes gyfyd ar ei chreigiau hi
  O wyll yr oesau, fel o'r dyfnder du.
Gwaedasom lawer gan elynol gledd—
  Gwaedasom fwy gan gleddyf llym ein hunain—
Yr hyn adawai 'r estron in' mewn hedd,
  A fethrid gan gynddaredd meibion Prydain.

Ymladdwyd am bob cwys, a mwydwyd hi
  A chynhes waed y Brython hoff o'i wlad;
Gwladgarwch dan ei chlwyfau waedai'n lli,
  Ond trechu wnai cenfigen front a brad.

Ciliasom gam a cham hyd lwybrau gwaed,
Nes cyrhaedd Gwalia a'i mynyddoedd ban,
Ac yma arosasom, ond ni chaed
Gorphwysder eto i'r hen genedl wan;
Gadawyd in' ein hiaith a mawl ein Ner,
A Gwalia wyllt er rhuthr myrdd o stormydd;
Maent genym hyd yn hyn—a thra fo ser
A lloer a haul, gwir fyddo cân y prydydd!

*Syr Dic Sion Dafydd Dundreary :—*

'Rwy'n methu gweled pa *use*,
Yw son am Gymru *for ever*,
'Rwy'n caru pob ffasiwn a bost
Sy'n taro i *Gentlemen* arfer;
'Rwy'n gwybod am ddulliau'r *beau monde*,
'Does son am Gymraeg braidd un amser,
Os nad fel bydd son am Taepings,
Neu Gorilla Chaillu *after dinner*.

'Rwyf fi yn foddlawn dweyd,
Mai Welshman wyf, mewn Eisteddfod;
Ond mae hyn pan fo'r *company'n high*
Yn ormod i undyn gydnabod.
Chwi wyddoch, nid yw'n *a la mode*
I sawru o'r Cenin mewn unmodd,
Ond eto mae *accent* Gymreig
Yn gwneyd dyn yn *vulgar* o'i anfodd!

*Masnachwr :—*

Mae'r ffol yn dywedyd synwyr ambell waith,
Ond nid oes neb ddiolcha iddo chwaith;

Mae llawer penddwl wedi meddwl nad
Oes parch i neb heb wadu iaith ei wlad:
Gobeithio llwydda gwyr y penau gweig
I brofi i bawb nad ynt o waed Cymreig.
Ond am yr heniaith, er anwyled yw,
Mae llais yr oes yn dweyd na chaiff hi fyw:
Trwy 'i gledd y goresgynwr dreisia'n tir—
Trwy gelf a masnach treisia'n hiaith cyn hir;
Yn nhwrf y byd mae heddyw'n wael ei gwedd,
A buan bydd yn fud mewn dystaw fedd!

*Cydgan o Wyryfon:—*

Mae'n anhawdd meddwl colli
  Yr heniaith fwynber fad!
Rhyw golled megys colli mam
  Fai colli iaith fy ngwlad.
Nid mympwy ydyw'n hoffder
  At swyn ei seiniau hi—
Mae wedi 'i phlethu'n dỳn â gwraidd
  Llinynau'n calon ni.
Pe nad anwylem hi
  Fe wnaem â'n henaid gam—
Fe dduai'r byd heb fawl ein Ner,
  A heniaith hoff ein mam!

Os ydych am ddifodi
  Un ran o'r Cymro'n lân,
A hono'n ran nefolaidd, lwys,
  Difodwch iaith y gân.

Gall iaith estronol siarad,
  A'i ddeall byw er bri;
Ond mae dyfnderoedd yn ei fron
  Na thraidd un iaith ond hi!
Os marw wna hi ryw bryd,
  'Rwyn credu'n wir y bydd,
Naill haner calon Cymru lon
  Yn marw yr un dydd!

*Bardd:—*

Pa'm mae'r galon yn galaru?
Pa'm mae cwyn am hen iaith Cymru?
Pwy mewn rhyfyg sy'n mynegu
  Dydd ei hangau hi?
Feibion gwlad y gân a'r delyn!
Ymwrolwch, nis gall gelyn
Ladd yr iaith sydd dan amddiffyn
  Eich anwyldeb chwi!
Onid yw'r mynyddau,
Gelltydd crog a'r creigiau,
  Yn adnabod odlau mwyn
A chyfrin swyn ei seiniau?
Ac hyd nes byddo'r nef yn galw,
Am 'i iaith y Brython farw,
Chwydda'r llef fel tonau'r llanw—
  Byw fo'n heniaith ni!

*Telynor:—*

Mae'r tanau yn gofyn,
Pwy saif yn amddiffyn,

I heniaith a breiniau ein gwlad?
  Mae ysbryd Caradog,
  Ac Arthur lawrufog,
Yn gwylied ein tynged rhag brad:
  A myrddiwn o leisiau
  Yn henwlad y bryniau,
Sy'n gwaeddi hyd byth bo'u parhad!

*Ofyddes:—*

Pan dorai'r Archdderwydd ar wyliau,
  'R uchelwydd a'r gyllell aur—
Draw, draw yn nhywyllwch cynoesau,
'Roedd awen a dysg yr hen dadau,
Yn ffyddlawn i'r famwlad a i breiniau,
  Mewn glwyswers a chyfrin air.

Pan ruthrai byddinoedd gelynol
  I ffurfio galanas erch—
Pan wgai'r "ddraig" yn fygythiol,
Ar frad a dig ystryw gynllwynol,
Ceid calon 'r awenydd yn wrol,
  A llawn o wladgarol serch.

Mae'n aros hen gyssegr cariad
  At Walia a i broydd heirdd;
Gwladgarwch a etyb yr alwad,
Yn bur a dihalog ei bwriad,
I sefyll dros freiniau yr henwlad,
  Fel cynt o orsedd y beirdd.

*Gorsedd y Beirdd:—*

Tra tonau y dyfnder yn golchi ein glan—
Tra creigiau yn dal yr Eryri i'r lan;
Saif gorsedd y beirdd yn ddiysgog o hyd,
Yn nodded gwladgarwch rhag gormes y byd.
Ein Ner a folianwn, a'n heniaith i ni,
Tra'n einioes fydd anwyl, a'n Gwalia fwyn gu,
Ein cartref fydd eto—ein cartref a fu!

I wledydd y ddaear yn serchog a llon,
Mae gwlad y mynyddau yn agor ei bron—
Dystawed bloedd rhyfel, a gweinier y cledd,
A gwened y bobloedd mewn llwyddiant a hedd!
Ein Ner a folianwn, a'n heniaith i ni,
Tra einioes fydd anwyl, a'n Gwalia fwyn gu,
Ein cartref fydd eto—ein cartref a fu!

*Oll:—*

"Eu Ner a folant,
Eu hiaith a gadwant,
Eu tir a gollant,
Ond gwyllt Walia."

---

## EIRA CYNTA'R GAUAF.

Mae Calangauaf wedi myn'd
  Yn wyn dan leni 'r barug:
Ceid ambell ddeilen ar y llwyn
Yn wan a gwyw, a'r gwynt o'r twyn
Yn ceisio 'n daer i'w bedd i'w dwyn,
  Cyn delai y Nadolig:
Ond llyma 'r eira 'n gynar dô
  Ar hyd y fro rewedig!

Mae haf a'i fwyndes wedi bod
  Er pan fu 'r ôd ddiwedda':
Addurnwyd natur wemp i'r bardd
A choron-flodau, emawg, hardd—
Mireinwych oedd hyd ddol a gardd,
  Ond gwywodd dan y mawrbla;
Hi gafodd 'n awr eres-wisg gu—
  Oer, ganaid gnu yr eira;

Llon wena 'r Gwanwyn rhwng y cŷll
  Ar fŷll a chynar feillion;
Cusana 'r Haf gain liwiau 'r rhos,
Neu sugna 'r gwlith o'r lili dlos;
A'r Hydref a'r oleuloer nos
  Dynera 'r rhywiog aeron;
Ond pan yn crugio 'r eiry càn
  Mae 'r Gauaf dan ei goron.

Arddunol yw 'r olygfa syn—
  Pob bryn yn orchuddiedig;
A'r eithin ar y llethr fan draw
Fel praidd lluddedig wedi braw,
A'r gwrychoedd rhwyllog ar bob llaw
  Yn rwydwaith cyfrodedig.
Rhyw swynle ydyw 'r glyn i gyd—
  Mae 'r byd yn newidiedig !

Tra crwydrai 'r nos ar wylliog frisg,
  Daeth gwisg o fro y nifwl,
I glydo yr hen ddaear gu:
Y casnod eira ddoent fel plu
Ar esgyll y tywyllwch du
  O uchder dŵn y cwmwl.
Pan godai haul, ysmiciai 'i drem
  Ger bron y gemog gaswl (*chasuble*).

Yn awr am danllwyth eirias fawr !
  Yn awr am haf yr aelwyd !
A llon gymdeithas gylch y tân,
Ac odli ambell gynhes gân,
I glymu ein difyrion mân,
  A swyn fel fel gwynfyd breuddwyd;
Ond ar yr eira, pa sawl gwan
  Sy' heb ddim i'w ran ond anwyd ?

---

# GWLADGARWCH.

MAE'R fynwes yn chwyddo a'r llygad yn llaith,
  A thwymias yn treiddio trwy'r galon:
Beth ydyw? Fy ngwlad, beth sydd ynot yn gwneyd
  Y perlesmair a ddaw o'th adgofion?
O gwelaf dy fryniau a'th froydd heirdd, llon,
  Dy lynoedd a'th fwynion afonydd!
Ond pa'm 'rwyt mor anwyl? Fy ngwlad, mae dy swyn
  Fel harddwch dy wedd yn fyth newydd.

Mor gu yw'th lanerchau! Mor ddedwydd yw bod,
  A rhodio dan wenau dy degwch!
Ai'r gwynfyd a ddaw im' o'm serch ynot ti,
  Yw'r mwyniant sy'n mynwes gwladgarwch?
Mor hoff yw'r adgofion sydd ynot yn nglyn—
  Gyssegrant dy lanau a'th gymoedd:
Mae glwysion ysbrydion yn siarad â mi,
  O'th foelydd a'th gedyrn fynyddoedd.

Bu'r meddwl gwladgarol yn llunio dy lwydd,
  A'r galon yn chwenych dy lesiant,
A dwylaw diwydrwydd dan ludded yn rhoi
  Cain feini'n adeilwaith d' ogoniant:
Bu gwaed y cyndeidau yn ffrydio yn lli,
  Wrth ddewrfryd amddiffyn dy freiniau;
A llawer Thermopylœ ynot sy'n nghudd,
  Dan wyll ebargofiant yr oesau.

Anwylaf dy iaith—iaith y nef yw i mi—
  Bu'r nef ynddi'n siarad â'm calon;
A phob peth sydd dyner, nefolaidd, a phur,
  Sydd fwynach yn swn ei hacenion.
Cyssegrwydd adgofion fy mywyd i gyd
  Am danat sy'n serchog ymglymu;
A fflam y teimladau anwylaf o'm mewn
  Sy o'r newydd wrth d'enw'n ennynu.

Fel dwys fryd yr Iuddew yn Mabylon draw
  Am fryniau a broydd ei Ganaan,
Yw hiraeth fy mron, pan yn crwydro yn mhell,
  Am dawel anwyl-wlad fy hunan.
Cyfammod a wnaethym â'm calon fy hun,
  I wylaidd gyflwyno pob gallu—
Er bychan a dinod—yn ddidwyll a phur
  Ar allor yr hen-wlad anwylgu.

O ysbryd gwladgarwch! glân angel wyt ti,
  Yn gwysio'th ffyddloniaid i fyny!
I fyny i'r purdeb, a'r cariad, a'r hedd,
  I'r nefoedd mae Duw yn drigiannu.
Mae'th swynion yn santaidd, nefolaidd, a glwys,
  Yn lleddfu hunan-gais y bobloedd:
Perarogl dy rinwedd a ymlid y pla,
  Sy'n difa calonau'r cenedloedd.

---

# EMYN.

Yn dy gariad ymlochesaf,
  Geidwad Israel, heb un braw;
Nid oes gallu, nid oes gelyn
  All fy nghipio o dy law.
Lleddfir yma swn pob storom,
  Pylir llymder pob rhyw gur;
Try pob cwmwl du yn ddysglaer
  Yn ngoleuni'th wenau pur.

Er mor eiddil ydwyf, Arglwydd,
  Mae fy ngobaith ynot ti:
A phan deimlwyf dy drugaredd,
  Nid oes dim yn drech na mi.
Cwyd fy meddwl uwch pob rhwystrau,
  Gwenaf ar bob tymhestl gerth;
Dy dosturi yw'm hamddiffyn,
  A'th dynerwch yw fy nerth.

Rho im' deimlo fod dy gariad
  Yn gorchfygu'm pechod oll,
Ac fod rhin dy iachawdwriaeth
  Yn fy meithrin yn ddigoll:
Dena'm henaid atat beunydd,
  Pura'm calon, gloewa'm ffydd,
Nertha'm gwendid yn yr ymdrech
  Nes im' ddod o'm rhwymau'n rhydd.

# MEHEFIN.

Mehefin ffresg! Ti ddaethost yn dy dro
Ar draws y weirglodd gnydiog yn y fro,
Ac heibio'r egin gwyrddlas ar y fron,
A thros y bryn lle cest yr hedydd llon
Yn canu wrth dy draed ac uwch dy ben,
Gan uno'r ddaear yn ei gân â'r nen.
Mae eto yrfa lwyslon o dy flaen
Rhwng peraroglau blodau gwyllt y waen,
Trwy ganol diadellau'r gwartheg mwyn
Hyd lan y gloewddwr dan y deiliog lwyn.
Cei loches rhag y gwres ar ganol dydd,
Lle chwery'r awel gylch dy ael yn rhydd;
A phan y tery'r daran ar dy glyw
Fe dd'wed y glaswellt wrthyt, Llais dy gyfaill yw.

Dof finnau allan ar dy hynt, os caf,
A chasglaf hyd dy lwybrau flodau haf—
Gwyllt flodau bychain yn y gilfach gel,
A llysiau peraidd yn dyhidlo mel,
Rhai bach teleidwiw, nad oes enwau bron
I nodi genym rywiau'u tlysni llon—
Didor oludoedd, amrywiaethau stor
Ddiderfyn addurniadau gemwaith Ior.
Yn wir mae etifeddiaeth wemp i ti,
Mehefin wyrdd, ond byr y pery'th fri!
Rhyw dro trwy ganol rhyfeddodau byd
I nodi ei geinion ydyw'th oes i gyd,
Ymedi wedy'n mewn boddlonrwydd llwyr,
Gan wenu ffarwel fwynaidd ar dy olaf hwyr.

# MYFYRDOD.

Mor 'chydig wyf yn wybod, heb wybod hyny'n iawn—
O'm blaen mae môr diderfyn o wirioneddau'n llawn.
Wyf yma fel fy nhadau yn sefyll ar y lan
Gan syllu'n mlaen i'r dyfnder nes methu o'm golwg wan.

Rhyfeddod wrth ryfeddod sy'n aros fyth ynglyn,
A harddwch dawdd i harddwch fel lliwiau'r enfys gun;
Ac fel yn nghylch y gorwel y cydia'r nef a'r llawr,
I'r meidrol daw'r anfeidrol o'r tragwyddoldeb mawr.

Fel chwyfiad aden angel ger bron fy llygaid prudd,
Daw weithiau lewyrch dysglaer o'r dwfn bellderau cudd,
Gan wenu ar fy ngobaith fel Seren Bethlehem—
Ond O! mae'r niwl o'm hamgylch a dagrau'n dallu'm trem.

Mae lleisiau per yn siarad â mi mewn nefol iaith,
A cheinion ysprydoliaeth yn lloni'm llygaid llaith;
Ond O! mae'r iaith yn uchel a dieithr oddi draw,
Ac O! mae'r cain ddelweddau yn cilio o flaen fy llaw

Mae adsain yn fy enaid i'r beraidd ddwyfol lef—
O gudd ddyfnderau'm calon daw geiriau glwys y nef;
Fel plentyn am yr adsain ymchwiliaf am y llais,
Ond nid yw ddim ond adsain ac ofer ydyw'm cais.

Pa le mae cylch nefolfyd? Ai'n rhywle draw yn
mhell?
Neu ynte yn yr ymyl mae haf "paradwys well?"
A yw yr oriau euraidd sy'n gwenu ar ein paith,
Yn ffres o'r tragwyddolfyd neu'n flin gan alltud daith?

Ai nid oes yn yr awel ryw beraidd isel sain
Sydd megys nodau crwydrol o gân rhyw angel cain?
Ai nid yw llygaid anian yn gwel'd rhyw burach fyd,
Pan mae ei gwrid amliwiog yn derchu ei mirain bryd?

Na dd'weder fod ein daear yn mhell o fangre Duw,
Tra gwelir ei ogoniant yn llenwi ei harddwch byw;
O lygredd dyn daw'r cwmwl sy'n pylu ein golwg glir,
Rhag gwel'd ei Bresenoldeb yn argyssegru'n tir.

Edrychais ar y nefoedd—edrychais ar y llawr,
A gwelais rwymau cariad yn croesi'r cyfwng mawr;
Ynfydion nid ystyriant, ond Duw nis gad y byd,
A throi a throi mae'r ddaear wrth reol Duw o hyd.

Yn araf daw Trugaredd a'i maith gynlluniau i ben,
Yn araf tyr goleuni trwy lawer niwlog len.
Rhy fawr yw Tragwyddoldeb i'n gwan fesurau ni,
Ond ar bob cwmwl tywyll daw llewyrch oddi fry.

---

# CARTREF.

Nid yw ond bychan iawn,
  Er holl eangder byd,
Y fangre hoff a eilw serch
  Yn artref im' o hyd;
Er crwydro draw yn mhell,
  A gweled gorwych fri,
Ni welais ddim a fedd y swyn
  Sydd yn fy nghartref i.

Mae 'n hardd; ond nid yr hardd
  Sy'n codi 'r deigryn gwan:
Mae 'n ddedwydd; ond daeth tristyd
  Yn fynych heibio 'r fan.
Rhyw nefol yspryd sydd
  Yn gwisgo cariad am
Bob peth o'i gylch, nes byddo fel
  Rhyw eilun calon mam.

Mae 'n artref am ei fod
  Yn drigfan cariad byw;
Mae cariad yno hefyd am
  Mai cartref imi yw.
Ymbletha 'r naill i'r llall,
  Nes methaf eglurhau,
Pa un sydd flaen—pa un sydd ol,
  Can's un i mi yw 'r ddau.

Nid dysgu ei garu wnes,
  Ond dysgu 'r cariad llon,
Er pelydr gwawrddydd einioes oedd
  Yn mwyn gynhesu 'm bron:
Cyd-dyfu a mi wnaeth,
  Fel rhan o'm bywyd yw;
A pheidio caru 'm cartref hoff
  Ni wnaf nes peidio byw.

Rhyw adlewyrchiad pur
  O nefol wawl yw ef;
A thaflodd ar fy llwybrau croes
  Oleuni deddfau 'r nef:
Pan fyddai nos o'm cylch,
  A chryf elynion am
Fy nenu i ddrwg, fe ffoent oll
  Rhag llewyrch serch fy mam.

---

## Y NOS.

Yn ngherbyd aur yr haul,
  Myn'd heibio wnaeth y dydd,
A'r Nos i'w ddilyn ddaeth
  Yn ysgafn droed a phrudd:
A'i mantell am ei phen
  Mae 'n wylo dros y byd—
Mae 'r ser o'i chylch yn llon,
  A hithau 'n wylo o hyd!

D'wed im' paham yr wyt
  Mor drist dy wedd, Nos fwyn ?
Paham mae'th ddagrau fyrdd
  Yn golchi pen pob twyn ?
Fel mam uwchben ei merch
  Fo'n cysgu ger ei bron,
Yn ddystaw wyli di
  Uwchben y ddaear hon.

Mae llygaid bach y dydd
  Oll yn gauedig 'nawr,
A'r blodau mewn trwm gwsg
  Freuddwydiant am y wawr.
Cusanu 'r byd wnest di,
  I gysgu, dawel Nos,
Mae 'th gusan eto 'n ber
  Ar dyner foch y rhos.

Paham y taeni 'th len
  Dros harddwch daear gu ?
Ai er mwyn codi 'n bryd
  At ryfeddodau fry ?
Ai er mwyn dangos in'
  Y maith bellderau draw –
Yr anfeidroledd sy'
  'N ein cylchu ar bob llaw ?

Mor gain wyt heno, Nos !
  Mae 'r lloer yn gemu 'r lli',
A ser afrifed claer
  Yn gwenu arnat ti :

Rhyw nudd arianaidd gwyn
  Sy'n gwisgo bryn a phant,
A llun y lleuad wen
  Gorona grychiau'r nant.

Ond mynych daw'r ystorm
  I'th ddilyn ar dy hynt—
Cymylau gylch dy ael,
  A'th wallt yn llaes i'r gwynt.
Pryd hyn mae'r ser yn cau
  Eu llygaid ter mewn braw,
A'r lloer tu hwnt i'r llen
  Gymylog gilia draw.

Ond er amrywio'th wedd,
  Rhyfeddol wyt o hyd;
A rhyfedd ydyw'th iaith
  Yn nghlustiau'r cysglyd fyd;
Arweini'r meddwl gwan,
  Er mor ddaearol yw,
Ymlaen hyd rodfa ser
  At gyssegr gorsedd Duw.

---

# CAN BRIODASOL.

Yn nghalon yr ieuanc mae ysbryd bach derch,
Yn trigo'n wastadol gan sisial am serch—
Mae'n dweyd fod dedwyddwch a chariad yn un,
Ac nad oes dim gwynfyd i fab heb ei fun;
Fod llawnder, llawenydd, a llwyddiant y byd,
'Fewn modrwy'r briodas yn gwlwm i gyd—
A modrwy'r briodas am danynt i gyd.

Mae'n dysgu un galon i swyno y llall,
A chalon wrth galon i g'lymu'n ddiball,
Un galon yn hyawdl yn dadgan ei serch,
Tra'n fud heb un "na wnaf" mae calon y ferch.
Nis gall fod un gwynfyd i fab heb ei fun:
'Fewn modrwy'r briodas dwy galon sy'n un,
A modrwy'r briodas am danynt yn un.

Rhyw fargen go ryfedd! un galon am ddwy!
A chariad yn gwarchod 'r un hono rhag clwy'.
Nid dau rosyn unig—un gwyn ac un coch,
Ond un rhosyn hardd, a phob lliw ar ei foch!
Hir, hir byddo'r undeb yn ddedwydd a llon!
Pob bendith fo trwyddo'n dylifo i'r fron!
A modrwy'r briodas yn ddysglaer a llon.

# Y DDWY CHWAER.

(ANERCHIAD.)

GNAWD i'r wenynen nwyfus
Yw tynu at y mel;
A gnawd i'r eos hoffi ei cherdd
Rhwng dail y tew-lwyn cel:
Hawdd yw i'r awen hithau
Roi cân i'w phlant ei hun,
Sy'n byw o hyd dan rin ei swyn,
Yn nghyssegr ysbrydoliaeth fwyn,
Gan roddi llais a llafar
I awenyddiaeth gun.

Hawdd iddi yw clodfori
Anwyliaid byw y gerdd;
A throi ei llawryf gylch yr ael
Fo'n teimlo'r ddeilen werdd.
Hi blethodd lawer garlant
I'w rhoi ar fedd y llan,
Lle byddai 'i thawel ddeiliaid cu
Yn huno'n ddistaw gyda'r llu,
Heb ddim ond serch adgofus
Yn nodi'r isel fan.

Ond heddyw llon yw'r ganiad,
Heb unrhyw nodyn prudd,
Llon yw'r wynebpryd yn ei wên,
A llon yw'r galon gudd.

Ceir gweled gwenau'r miloedd—
Ceir clywed lleisiau'r llu
Yn eilio cân yr Awen dderch
I ganmol mewn brwdfrydig serch,
Rai sydd i bawb mor anwyl
Ag ydynt iddi hi.

Mae moliant am eu mawredd
Yn swnio'n nhemlau'r gân;
A swn eu troed yn anwyl sydd
O fewn pob bwthyn glân;
Er cymaint yr anrhydedd
A delir iddynt hwy
Gan uchel ddysgedigion byd,
Fe deimla'r galon gynes, glyd,
Fod cariad teulu'r bwthyn
Yn urddas llawer mwy.

Hwy dynant ein hedmygedd
O gelloedd dyfna'r fron,
Gan swyno'n serch, ar dannau clod,
I chwareu'n mawlgerdd lon;
Ond mae rhyw dyner ŵylder
Yn cloffi seiniau'r gân,
Pan gofiom fod rhai blodau chweg
Yn cau mewn poen eu llygaid teg,
Os trwsgl ruthrir atynt
I drin eu harddwch glân

A wna'r ddwy dirion dderbyn
  Ein cân er mwyn ein serch?
Mae parch a chariad calon bur
  Yn gwneyd y gwael yn dderch:
Ac os yw haelder yspryd,
  A rhinwedd calon fad,
Yn ennyn fflam edmygedd byw
Yn mynwes eang dynolryw,
  Boddlonent hwy i'r deyrnged
  Roi'r iddynt gan eu gwlad.

Ond beth a delir iddynt
  Yn offrwm serchus fawl?
I rinwedd, b'le o dan y ser
  Ceir gwobr leinw 'i hawl?
A roddir cofres hirfaith
  O'i hael "weithredoedd da?"
Ai rhodio wnawn â chamrau dwys
Hyd lwybr eu haelioni glwys,
  Gan weled llwydd a llonder
  'N ei hulio ffordd yr â?

Nid rhaid rhoi maith gofresi
  O'u caredigrwydd hwy;
Na rhifo'r cymwynasau fyrdd
  A wnaed gan serch y ddwy:
Ca'r weddw a'r amddifad,
  Y tlawd, y claf, a'r hen,

A'r llu diolchus yma a thraw,
Brofasant les eu tyner law,
Roi cyfrif am eu cariad
I'r nefoedd gyda gwên.

Nid rhoi eu heiddo'n unig,
Ond rhoi eu hunain wnant—
Eu serch a'u hymdrech fyth o blaid
Pob moddion a leshant.
Pan ddelo'r dydd y byddo
Gwladgarwch yn ei bri,
A Dysg a Rhyddid trwy ein tir,
Yn gwenu'n ngwyneb Crefydd bur,
Ceir gweled y pryd hyny
Beth wnaethant hwy i ni.

Nid nodi rhagoriaethau
Yw'r gwaith dymunwn ni,
Ond rhoddi iaith i deimlad bron,
A dweyd, "Anwylwn chwi!
Fe wyddom am eich cariad
At hen wlad hoff y gân,
Fe wyddom am eich mawrwaith drud
Yn cadw cerddi Cymru i'r byd,
Fe wyddom am y mwynder
A aeth â'n serch yn lân."

Os trist yw'n trigfan heddyw,
Dan alarwisg y bedd;
Os llawer calon sydd yn drwm,
A galar ar y wedd;

Os cuddiwyd gwen ein gobaith
Dan amdo'r angau du;
Par coffawdwriaeth rhinwedd lân
I berarogli blodau'r gân,
A'u blagur yn anfarwol
Yn awen Cymru gu!

O! hafaidd fyddo'u bywyd
Dan fendith oreu'n gwlad,
A'r fendith lawer gwell sy'n dod
O orsedd wen eu Tad!
Hir oes i'r ddwy i dderbyn
Ein diolchgarwch ni:
A phan roir taw ar seiniau'r byd,
Yn swn telynau'r nef ynghyd,
Boed iddynt glywed groesaw
Yr Hwn sy'n eistedd fry!

---

## YR EIRIAWL.

(THE SNOWDROPS.)

Pan chwythai Chwefror oer
Ei eirwlaw miniog llerth,
Blagurai'r eiriawl gwyn
Yn wylaidd dan y berth:
O'r blodau amliw nid oedd un
I wenu ar yr eiriawl cun.

Pob peth o'i gylch yn llwm—
Unigol oedd ei wedd;
Diflagur oedd y llwyn,
A'r blodau yn eu bedd:
Ond gwenai'r eiriawl wrtho'i hun
A chynes fron 'n y dymhestl flin.

Ni chlywid cân o'r wig;
Noeth, llwyd oedd gwedd y ddol,
A'r eira yn môn y clawdd
A lerciai eto ar ol:
Yr eiriawl dd'wedai'n ddystaw fach,
Daw blodau brith a gwanwyn iach.

Digymhar oedd o hyd
Yn dal y dryghin erch,
Nes daeth briallu llon
Yn chwyddo'u bron o serch,
A gwenu'n fad; ond erbyn hyn
Yn marw oedd yr eiriawl gwyn.

Mae heddyw flodau tlws
Yn dryfrith yn yr ardd,
Yn perarogli'n chweg
A lledu'u lliwiau'n hardd;
Ond wele y briallu'n syn
Yn wylo ar fedd yr eiriawl gwyn.

# YMGOM A'R BENGLOG.

[Datguddiwyd penglog o faintioli mwy na chyffredin, a'i holl ranau yn eu lle, wrth wneyd cyfnewidiadau yn Eglwys Llanfynydd.]

Groesaw it', ymwelydd hynod,
Gan it' orfod atom ddod;
Cuddfan daear yw dy artref,
Lle'r wyt oesau wedi bod.
Rhoddwyd di i orphwys yno
Hyd nes canai'r udgorn mawr;
P'odd yr aflonyddwyd arnat?
Pa'm yr adgyfodi'n awr?

Tywyll ydwyt mewn goleuni!
Byddar er yn swn y byd!
Mudan! O na all'set siarad
Am y wlad lle buost cyd!
Pa fath le yw gwely'r graian?
Pa fath hun yw hun y bedd?
Oes breuddwydio mewn angeu-gwsg?
A wel yr yspryd 'nawr dy wedd?

Wylodd rhywrai, y mae'n debyg,
Pan y'th roddwyd di dan gudd!
Nid oes neb a'th adwaen heddyw,
Er dwys syllu i'th wyneb prudd!
Mae y rhai wylasant yno
Wedi hen anghofio'u briw!
Erbyn heddyw alltud ydwyt—
Treisydd lle yn mhlith y byw!

Nid yw'r ffordd lle gynt y rhodiaist
Heddyw'n adwaen sŵn dy droed;
Ac mae'r byd mor ddifraw a phe
Na buasit ynddo erioed!
Estron ydwyt i'th berth'nasau,
Pa rai bynag ydynt hwy;
Ni wna cartref dy roesawi,
Ond oer gartre'r beddrod mwy!

Pa fath fyd a gefaist yma?
Ai cyfoethog oe't ai tlawd?
Ond ni waeth—mae'r bedd yn cyfrif
Iarll a thlotyn yn ddau frawd!
Ai helbulus fu dy ymdaith
O dy gryd trwy 'r byd i'r bedd?
Wyt yn awr yn swrth noswylio
Heb un aeth i hudo'th wedd!

Os mai gwir yw geiriau'r wyddor
Am nodweddau'th galon di,
Nid ymhoffwn fanwl sylwi
Ar ei du gyfrinion hi!
Ond na feiddied hyf gywreinrwydd
Goeg ysbïo i'r gyssegr gell,
Lle gwnaeth hollwybodaeth Duwdod
Ei anfeidrol ymchwil well!

P'le mae y cymdeithion hyny
Oent mewn bywyd i ti'n gu?
P'le maent yn cartrefu heddyw?
Ie, p'le? a ph'le rwyt ti?

Canu 'n iach wnaeth byd it' eisoes,
  Minnau ganaf iti'n awr:
Ni ddisgwyliaf dy wel'd eto
  Nes cydgwrdd holl deulu 'r llawr.

Cyfarfyddwn oll pryd hyny,
  Wedi i minnau fel tydi,
Gysgu hun yn nghol hen ddaear
  Dros nos ddystaw angeu du!
Rhyfedd dd'wrnod fydd pan gwrddom!
  Rhyfedd ninnau, o farw 'n fyw!
Rhyfedd ydyw 'r oll nes colli
  Yn rhyfeddod rhyfedd Duw!

## RHYDDID CYDWYBOD CARROG.

[Anfonodd Miss M—r—e, Carrog, lythyr at ei deiliaid, yn yr hwn y dywedai fod yn rhaid iddynt bresenoli eu hunain yn ngwasanaeth eglwys y plwyf, neu roddi eu ffermydd i fynu. Dywedai ei bod yn hoff o ryddid cydwybod, a'i bod felly yn eu gadael at eu dewisiad. Amddiffynwyd y weithred fel un deg a chyfiawn gan un a gyfenwai ei hun yn "Clericus," yn yr *Haul.*]

Gwnawd darganfyddiad hynod
  O bwys i'r bydysawd, pwy ddydd,
Gan Clericus a'i feistres,
  Beth ydyw cydwydod rydd.
Esbonir y darganfyddiad
  Gan ddeiliaid Llanddeiniol mwy
Wrth grwydro ar led heb eu ffermydd,
  Neu "amenu" yn eglwys y plwy.'

Dyn gonest heb ei fferm,
  Neu spaniel efo llwynog,
Yn dweyd eu pader yn eglwys y plwy'
  Yw rhyddid cydwybod Carrog!
      Ha! ha!
    Cydwybod rydd i Carrog!

Ryw nos breuddwydiai Cleric
  Fod Satan 'n ymrithio 'n y ply'
Gan erchi, "Newid dy grefydd,
  Neu fforffetia'r holl ddegwm i mi."
"O Sir," 'be Cleric, "I'm willing
  I newid fy nghrefydd, or more
(Ond anwyl yw'm cylla a'm cefn)
  You know, Sir, I've done so before."
Y lady efo'i chath,
  A Cleric yn ei gassog,
Yn rhifo ystlymod yn eglwys y plwy'
  Yw rhyddid cydwybod Carrog!
      Hwre!
    Cydwybod rydd i Carrog!

Daeth gwrach y rhibyn, meddant,
  I 'mgomio efo'r santes flydd,
Gan ddweyd, "'Rych at eich dewis,
  'Rwy'n caru cydwybod rydd,
Rhowch fyny 'ch tŷ a'ch cyfoeth,
  Neu gorweddwch 'n yr afon trwy 'r nos
Unwaith yr wythnos, o leiaf,
  Gan gadw eich hunan yn glos!"

Rheumatics ar afon a'r rhew!
A'r lady ddim yn foddog,
A Cleric yn mwmian yn eglwys y plwy'
Am ryddid cydwybod Carrog!
'Tis co-old !
Cydwybod rydd i Carrog!

Breuddwydiais i Cleric dderbyn
Gorchymyn o'r eglwys wèn,
Yn union i gasglu 'r gwenoliaid,
Neu sefyll am fis ar ei ben.
'Roedd at ei ewyllys i ddewis,
Ac felly heb sail bod yn gâs,
'Nol canon rhyddid cydwybod
Dau gamwedd a wnant un gras!
Y wenol! ble gebyst mae?
Cleric, a'i ben ar y fawnog!
Yn rhegu 'n ofnatsen hen eglwys y plwy'
A rhyddid cydwybod Carrog!
Too bad!
Cydwybod rydd i Carrog!

---

# CAN I DYWYSOG CYMRU.

Drigolion mwyn hen Gymru fad,
Hoff wlad yr awen lwysgu,
Cyweiriwch dant, mewn nwyfus chwant,
Ac eiliwch geinion canu.
Mawrygwch deyrnedd gwych eich gwlad,
Ac urddas eich breninol had,
Mewn swynol folawd maws, difrad
I fri Tywysog Cymru.

Meddiannem gynt ein gorsedd lwys,
A phwys hynafiaeth arni,
Lle dewrion fil, brenhinol hil
Yn drasol wnaent deyrnasu:
Cenhedloedd pell edmygent hon,
A'i bri orlenwai'r byd o'r bron,
Pan glaer ddysgleiriai heddwch llon
Ar lwydd Tywysog Cymru.

Trwy wŷll yr oesau gwelai un
Ein llun yn adgyfodi,
'Nol echrys frad ein cenedl fad,
O lwch gormesol gyni:
Ein gwlad ar goll ond Gwalia fwyn,
A'n hiaith yn seinio fyth ei swyn—
Ond wele dirion Naf yn dwyn
At hyn Dywysog Cymru.

Ein tadau dewr ar ol y gâd,
  A'r frad a wnai eu llethu,
Gyflwynent oes i chwerwaf loes,
  A dygnaf loes trueni,
Cyn collent ddrudion freiniau'n tir;
Ond plygent fel y meingawn hir
Dan donog des, o flaen y gwir
  Fod i'nt Dywysog Cymru.

Na wylwn boethion ddagrau mwy
  Am glwy' gormesol yni,
A hawliau drud ein tadol dud
  Yn sarn dan garn camwri;
Adlewyrch ein cynwynol fri
Mal eirian wawl ar wen y lli
Ddysgleiria eto arnom ni
  O sedd Tywysog Cymru.

Os C'radawg sydd dan oerllyd len,
  A phen coronog Rhodri—
Os creulawn gledd a difwyn fedd
  Wnaeth ddewr Lywelyn dewi:
Eu mawredd erys yn ddinych
Ar ben eu disgynyddion gwych—
Boed gorsedd Prydain fyth yn ddrych
  O rwysg T'wysogion Cymru.

Os amser dreiglodd 'mlaen yn nghynt
  Ar hynt ei rodawg flwyddi,
Na theimlad derch ein cynhes serch
  At ein hynafol fawrfri:

Ymfrysiwn 'nawr heb dreisio'n clod,
A chyrchwn at gydswynol nod—
Gorbwys ein cariad fyth fo'n bod
  Ar sedd Tywysog Cymru.

Na rewed byd gauafol fron
  Ein llon Dywysog mwyngu
Mewn hedd "eich dyn" rhag pob oer wŷn
  Fo'n iach yn ymlochesu,
Dros haul ei lwyddiant na foed gwg,
'N anadlu ei gymylog fwg:
Boed gwên ei ras yn dranc pob drwg
  O gylch Tywysog Cymru.

Cynhesu wnelo'r galon lawn
  O ddawn pob dethol deithi,
A'i feddwl hael boed iddo gael
  Gan Naf rasusaf wersi.
Dadblyged ei ddynoliaeth fwyn
Fal rhosyn per dan nefol swyn,
A lladau hedd hyd fedd fo'n dwyn
  Eu medd i D'wysog Cymru.

Pan wisgo goron lwys ei fam
  Heb gam i'w dyogelu,
Dilyned rawd ei dedwydd ffawd,
  A theyrnedd ei thirioni.
Pan gorsedd Prydain fydd ei sedd,
Er heb yr enw 'nawr a fedd,
Parhaed mewn tymer, gwaith, a gwedd
  I ni'n Dywysog Cymru

Dan siriol wên ei dirion nawdd
  Yn hawdd ceir Gwalia i wenu,
A bryd ei phlant, dros fryn a phant,
  I lawen ymadloni.
Adfywiant i faws freiniau'n gwlad,
Ac arfri gwych yr heniaith fad,
A'n seirian lwydd ddyd goron rad
  Ar ben Tywysog Cymru.

Ymdaened ei ddedwyddwch gwych
  Yn ddrych i'r byd o'i ddeutu,
A'i hedd foed glaer heb frychog aer,
  A'i gydoes i'w hedmygu.
Parhaed ei ddydd hyd hynaf wedd,
Ac huned draw mewn tawel fedd;
Ond ar ei ol fyth ar ei sedd,
  Boed hil Tywysog Cymru.

---

# I FONWENT LLANFYNYDD.

Dawel breswyl myrdd marwolion,
  Gludwyd iti un ac un!
Cyssegredig yw dy enw,
  A phruddswynol yw dy lun.
Mwydwyd dy briddellau filwaith
  A phoeth-ddagrau calon friw;
Claddwyd yn dy fynwes oeraidd
  Gyrph y marw a gwên y byw.

Llawer tô 'nol tô a welaist
  Gylch dy gaerau'n iach a llon;
Ond pob un ddaeth yn ei dymmor
  I lanw'i le o dan dy don.
Tadau fuont yma unwaith—
  Rhai yn fawr eu rhwysg a'u bri;
Nid oes iddynt gyfran heddyw,
  Ond rhonynau'th raiân di!

O hen fonwent! wyt watwarydd
  Dymuniadau gwag y byd!
Braidd na chlywn dy lais yn sisial,
  "Gwagedd—gwagedd hwynt i gyd!"
Ond hen fonwent! wyt yn anwyl,
  Er dy lais mor dostlym yw.
Mae pob gronyn it' yn gymmysg
  A gwrthddrychau cariad byw.

Llawer fu yn troedio'r bryniau
  Ynt o'th gylch yn amgaer gerth;
Ond am olaf dro hwy ddaethant
  Dros eu llon lechweddau serth.
Llawer rodiant yma heddyw,
  Hyd yr un hen lwybrau glwys;
Cyfarfyddant oll ryw gyfnod
  Yn eu cyrchfan dan y gwys.

Mynych syllu wyf, hen fonwent,
  Ar dy arwedd dawel, syw;
Tra mae'n cysgu ar dy wyneb
  Donog gysgod pruddaidd yw.

A meddyliaf am y diwrnod
  Yn y du ddyfodol pell,
Pan ddaw pawb o'th breswylyddion
  Yn llon i'r lan o'u priddlyd gell.

Na foed hyd y cyfnod hwnw
  Aflwys dwrdd i dori'th hedd;
Tes yr haf chwareuo arnat,
  Manod gauaf wisgo'th hedd.
Sygan mwyn y Sanan swynol
  Fo'n perori wrth dy droed,
Gan gydgathlu â chân yr awel
  Wrth ogleisio dail y coed.

Pan ofynir genyt loches
  Ar ol lludded trawd y byd,
Rho orphwysfa gynhes, esmwyth,
  I'r tylawd a'r gwych ynghyd.
Ac os ar dy fron yr hunaf,
  O hen fonwent! cadw'n gu
Wael weddillion un edrychodd
  Ganwaith ar dy wyneb di.

---

# I HEN DDERWEN CAERFYRDDIN.

Hen dderwingyff cyssegredig!
  Er mai gwyw dy wedd yn awr,
Mwy urddasol yn fy ngolwg
  Wyt na'r deilgoed teca'u gwawr!
Faint yw'th oed, hen dderwen rychog?
  P'le mae'r llaw a'th blannodd di?
Adlef ateb sy'n godyrddain
  O ddyfnderoedd oesau fu!

Dros dy ben bu llawer storom
  Yn ymddryllio o fron yr aig;
Twrf y daran yn croch rymial,
  Nes llesmeiriai'r ddigryn graig;
Mellt eiriaslun, fforchog, gwibiog,
  Fu'n ymsaethu gylch dy frig;
Ond yn gadarn, difraw safet
  Dan ryferthwy'u llerthedd dig.

Llawer gauaf garw welaist,
  Llawer haf a'i desog hoen;
'N ara' ddystaw aeth y blwyddau
  Heibio it' gan rychu'th groen.
Miloedd fu yn syllu arnat
  Wrth fyn'd heibio ar eu hynt,
Ond er's blwyddau maent yn gorphwys
  Yn nwfn fedd yr "amser gynt."

Gwelaist blant yn nwyfus chwareu
  Dan dy gangau praffion ir;
Gwelaist y rhai hyny'n fuan
  Yn hynafgwyr yn y tir.
Un genhedlaeth ar ol arall
  Lithrai heibio it' i'r bedd;
Tra'r arosit ti er hyny
  'N wyrdd dy ddail a theg dy wedd.

Erbyn heddyw, O hen dderwen,
  Tithau wyt yn grin a gwyw;
Mallog, dinodd yw dy foncyff—
  Adfail o'th orwychder syw.
Ond er llwyted yw dy olwg,
  Parcher dy henafol fri!
O hen dderwen fawr Caerfyrddin,
  Wyt yn anwyl eto i mi!

---

# DIANGFA Y CAETHWAS.

---

Mewn cuddfan dawel yn y prysgwydd pleth,
Ger cornant chwyrn a siai gân ddifeth,
Ymgrymai caethwas ar deg noswyl lon
I leddfu cynhyrfiadau'i ddybryd fron.
Yr huan claer o gol y llywyn lu
Ag enfys glwys oreurai 'i grychwallt du;

A'r olaf wên a lonai'r mesydd llin
Siriolai gethin ael y caethwas blin.

Trwy loewon ddeigr syllai ar y nef,
Tra'r awel laidd ywlwythai dan ei lef:
"Fy Nuw," dywedai, "pa'm nad wyf yn rhydd?
A gaf ddihoeni'n gaeth dros arall ddydd?
O Dad y trugareddau, rho im' fedd,
A chladder fi yn ddwfn dan y wyrddlas ledd!
Arguddia'm gwarth rhag bron dy lygaid pur!
Dilëed anghof ôl fy annynol gur!"

Dystewai, ond rhuthriadau'i ddolur dwys
Ysgydwai 'i gorph gwrolgryf dan eu pwys,
Fel corwynt yn dadwreiddio'r dderwen gref,
A syrthiai yntau'n swrth ag ochus lef;
Ond weithian ymdawelai, a d'wedai'n fwyn,
"O Dduw y Caethwas! gwrando'n awr fy nghwyn!
Deddf freiniol dy ogoniant arnaf sydd;
Rho im' dy nawdd, a rhan im' Rhyddid fydd!"

Dan dew gysgodau hen gyssegrawl yw
A daenent gangau prudd dros gaban syw,
Dywedai'r caethwas wrth ei hoffaf un—
"Yn awr, os parod, fy anwylaf fun!
Yr adeg obeithiedig heno ddaeth,
Hoff amnaid rhyddid dyr hualau'r caeth!
Ymlonwch, fy anwyles, daw y dydd
I ni a'n baban deimlo'n bod yn rhydd!"

"O gwarchod nef! Beth ydyw'r sŵn? A glywch?
"Dim, fy anwylyd, ond mae'r gwynt yn uwch."
"Ond eto! Os ymlidiant ar ein hol,
O faban tlws, cei farw yn fy nghol!"
"Nac ofnwch! 'r ydym eisoes yn rhy bell,
Nid dyn a'n lluddias mwy rhag tynged well!
Os trecha gelyn ca'r hyn fynych gaed—
Gwel'd enw rhyddid mewn llyth'renau gwaed!"

Trwy dew lwyn o ddrysni'n wyllt a ffrom,
Heb deimlo'r pigog ddrain gan galon drom,
Ymruthrai'r caethwas mewn gwallgofus wst,
Gan rwygo cangau'r prysel yn ei ffrwst.
Yn swrth ddisymmwth syrthiai ar y llawr—
Ond O olygfa! O arteithiol awr!
Rhwygedig gyrph ei wraig a'i faban cu,
Ynt goflaid oer yn mreichiau'r caethwas du!

Ai marw ynteu hefyd dan ei gur?
Na dygn ochenaid fel y miniog ddur
A rwyga 'i galon! Nid yn farw mae;
Ond mewn syfrdanol aeth ac ingol wae!
Dystawrwydd eto! ond yn araf cwyd
A galar wên, a d'wed "Ha! eto'i fwyd
Caethiwed ga'dd mewn gwaed! ond nid eu hoes
Derfynodd, ond eu maith ddirdynol loes!"

"Ysbrydoedd fy anwyliaid ynt yn rhydd,
Ac yn eu gwenau gwelaf finau ddydd

Pan gaf anadlu yn awyrgylch Duw,
Heb felldith ar fy nghynged mod i'n fyw !
Ha ! dyna'r celaneddau leddais i
Cyn cael fy nhrechu gan eu holaf gri ;
Boed i'nt yn gofadeiliau aros mwy
Ar fedd fy nghaethrawd a'm hellyllaidd glwy !"

Mal arian saethau, tonau crych yr aig
Chwyrnellant trwy agenau'r ddigryn graig :
Wrth droed yr hon, ar lafnau'r ewyn gwyn,
Mân ddarnau'r llestr mewn cynddeiriog lyn
Ymnofiant fel teganau lluchiol mân,
Yn llaw 'r ystorm i'w taflu 'nol a blân.
Ond yn y cythrwfl, ar y creigiau serth,
Ymlyn y caethwas mewn enbydus nerth !

Croch rua for, nes clyw y ser dy lef,
A lluchia'th donau hyd at entrych nef !
Ymruthrwch wyntoedd yn eich gwallgof wst,
Nes cilio'r ban fynyddoedd rhag eich ffrwst !
Tyrddana daran yn dy niwlog fwg,
Nes cryno seiliau'r ddaear dan dy wg !
Pob erch ryferthwy'n fwyn beroriaeth sydd
Yn nghlustiau'r caethwas, y mae 'nawr yn rhydd !

Mewn nwyfiant nofied goludogion byd,
A phesged pleser eu syniadol fryd :
Myfyried yr athronydd hyddysg, coeth
Ar egwyddorion dwfn, a breiniau'r doeth ;

Ymloned awen yr uchelrwysg fardd,
Ar ddatguddiadau ysbrydoliaeth hardd:
Dedwyddwch ei chyflawnaf goflaid rydd
I'r caethwas, pan y teimlo 'i fod yn rhydd!

Yn nwyfiant ei lawenydd d'wedai'n llon,
"O flwng gaethiwed! Er brathiadau bron,
A mil fyrdd glwyfau dy wenwynig saeth,
Mae'm henaid eto'n fyw 'nol dygnaf aeth!
F'anwyliaid ynt yn ngwawl tragwyddol ddydd,
Myfinau mewn cydweddol lwysder sydd!"
(Ymdreiglai deigryn gloew dros ei rudd,)
"Y byd sy'n nefoedd er pan wyf yn rhydd!"

---

# "LLE I BOB PETH, A PHOB PETH YN EI LE."

---

MAE trefn ar ddeddfau natur i'w chanfod trwy y byd;
A'u trefn a weina gysur i'w holl ororau'n nghyd:
Cydunant a gwrthbwysant, gweithredant yn ddiwall,
A daw o'u troion dyrus ddaioni pur diball;
Ond holer eu plethiadau trwy 'u cadwyn geinciog gre',
Ceir yno "le i bob peth, a phob peth yn ei le."

Nid eira y cynhauaf, na rhew ar hirddydd ha',
Na breilw y Nadolig yn gwridio yn yr ia;
Nid enfys heb un cwmwl, na heuldes yn y nos,
Na grawnwin ar yr ysgall, na pher dan flodau'r rhos;
Nid blagur yn yr Hydref, a gwyw'r gwanwynol re,
Na, na, mae "lle i bob peth, a phob peth yn ei le."

Er cynllwyn myrdd gelynion, a gwawd goganau'n rhes,
Cewch wenu ar eich gwynfyd, a lloni yn eich lles;
Yn nghanol tryblith daear, a baldordd byw y byd,
Mwynhewch dawelwch diloes a heddwch mad i'ch bryd;
Er cleber y pentrefydd, a synfawr dwrw'r dre',
Ond cofiwch—"lle i bob peth, a phob peth yn ei le."

Os dedwydd yw y teulu, a'r tŷ yn lân a syw,
A llonder ar bob wyneb, a hedd ar wedd yn byw,
A phawb yn ymorchestu i daenu mwyniant pur,
Heb friwio calon dyner, na chreu anghydfod sur,
A rhinwedd yn eu clymu â'i hardd sidanaidd we—
Mae yno "le i bob peth, a phob peth yn ei le."

Dedwyddwch rhwng cym'dogion a bery trwy eu hoes,
Brawdgarwch cyd-deimladol a leddfa lawer loes,
Caredig gymwynasau yn arwyddluniau hedd,
Ddangosant trwy'r ardaloedd eu tirion hylon wedd—
Serchoglawn barch a'u huna â'i euraidd gadwyn gre,'
Ond rhodder "lle i bob peth, a phob peth yn ei le.

Iachad i lawer dolur a balm i lawer clwy',
A geir o swyn y doethair, a nodded rhagddynt mwy:

Rhagflaenir llawer gofid a llawer aflwys frwth,
Yn mhalas y pendefig a'r gwael diaddurn fwth,
A direb i'r cyfanfyd—ni'm dawr plith dynion p'le—
Dim mwy na "lle i bob peth, a phob peth yn ei le."

Er dyledswyddau trymion, archiadol wysion byd,
A choeth hualau rhwystrau yn rhwymo'n dŷn bob pryd:
Trwy ganol anhawsderau ynt dryfrith ar y daith
Yn wrol yr ymdeithir, ac nid mewn lludded chwaith:
Daw'r oll i ben cyn hawdded a chwythiad gwynt y De,
Trwy gadw "lle i bob peth, a phob peth yn ei le."

Mewn amgylchiadau pwysig a goruchwylion dwys,
Ymdrechwn wirio deddfau ein bywyd yn eu pwys;
Rho'wn heibio fusgrell oedi, a gweithiwn er ein bri,
Ymaflwn yn ein hawliau a'n breintiau aml ri:
Rho'wn le i bob daioni a geir o dan y ne',
Ac 'nol rhoi "lle i bob peth," rho'wn "bob peth yn ei le."

---

# MOSES.
## GWAREDIGAETH ISRAEL.
### ARWRGERDD (ANORPHENEDIG).

I GANU gwaredigaeth Israel Duw,
O dan arweiniad a llywyddiaeth ddoeth
Y gŵr a alwyd gan y ddwyfol wŷs
O ganol fflam ofnadwy'r gwyrthiol dân,

A losgai'r berth ar lechwedd Horeb draw,
I fod yn gyfrwng gweinyddiadau gras
Jehofah mawr i'w briod bobl ei hun—
Eu gwaredigaeth o gaethiwed blin,
A lethai'u hysbryd dan ormesol drais,
Ac a ymdaenai megis cwmwl du,
Ofnadwy moglyd, godai o uffern ddofn
Fel gortho colledigaeth, rhwng eu trem,
A gwawl gweniadau'r nefoedd, gan eu cau
I mewn yn nghanol y tywyllwch erch,
Lle mae preswylfa'r Diafl a'i gethin lu,
Hyd nes dadguddiwyd rhad fwriadau'r drefn
O waredigaeth ac adferiad llon,
Gynlluniwyd gan ddoethineb nefol Ras,
Anfeidrol Ysbryd! yn yr Hwn y mae
Pob bywyd a gweithioldeb, gallu, dawn,
Pob braint a phob rhagoriaeth, hawl, a gwerth,
Oll-berffaith yn hanfodi, rho i mi
Ryw gyfran o'th ddylanwad nefol, pur—
Pa un ai awen, ysbrydoliaeth, neu
Ryw arall enw ddylai genym gael—
Y nwyf dderchafol, santaidd, ddwyfol sydd
Yn galluogi'r meddwl eiddil, gwan
I ymdderchafu fel ar edyn chwim
Y seraff tanllyd, gan gryf esgyn fry,
Uwch gwyll a niwloedd halogedig fyd,
Ir claer ororau lle mae gwyneb Duw
Yn rhoi goleuni fel goleuni nef;
Modd gallwyf fi yn ngheinciau'm gwylaidd gân,
Wrth olrhain gweithrediadau Cennad Ior,

Roi cywir adsain i'r beroriaeth ddofn,
Sydd trwy dreigliadau'r oesau'n dathlu fyth
Wirionedd, purdeb, a thrugaredd Duw.
Y genedl ddygwyd gan Ragluniaeth nef
O wlad 'r addewid—ei hoff Ganaan deg,
I drigo'n hir yn mhlith estroniaid balch,
Mewn adfyd a chaledi ingol dwys,
Er ei hyfforddiant a'i haddysgiaeth hi
I'w gwneyd yn addas i'r rhagorfraint wiw,
Fwriadai y Jehofah iddi roi,
Trwy ei chyssegru 'n genedl iddo 'i hun,
A rhoddi iddi yr Oraclau byw,
A'i gwneyd yn gyfrwng gweinyddiadau 'i ras
I fyd truenus euog—hon yn awr
Ddirwasgid, fethrid yn yr isel lwch,
A haiarn gormes a chreulondeb oedd
Yn gwanu'i henaid trwy, a'i chalon lesg,
Glwyfedig, waedai'n lli, tra'r miniog ddur
A dorai dŷn linynau'i gobaith cu,
Un ar ol un nes oedd yr olaf bron
Ar deimlo ei gyffyrddiad oerllyd, erch;
A'r ddwys ochenaid lwythog, floesg a dofn,
Sy'n rhagfynegydd rhwysg anobaith du
A aethai eisoes dros ei gwefus oer,
Gan lesg ymdreiddio trwy yr awyr fwyn:
Gorweddai hithau yn ei gwaed ar lawr,
A gloes marwolaeth yn ei chalon oedd.
Ei gelyn lawenhâi wrth feddwl cael
Ysglyfaeth lawer o'i galanas hi.
A Satan yntau oedd pryd hyn yn llon,

Mor llon ag y mae modd i Ddiafol fod—
Gan gredu fod cynlluniau'r nefoedd fawr
Am unwaith wedi drysu, ac fod gair
Jehofah pan yn addaw'r dwyfol Had
I roi ymwared i druenus ddyn,
Ac adfer euog fyd i heddwch Duw,
Ar gael ei brofi'n wawdiaith a gwag dwyll.
Buasai'n fynych yn myfyrio ar
Addewid ryfedd Ior yn Eden gynt,
Am Had y wraig i sigo siol y sarph,
Ac yn ymollwng weithiau i ofnau trist,
Wrth reddfol deimlo fod rhyw felldith drom
Yn gwgu arno ef o'r geiriau dwys;
Ond fel y treiglai'r oesau caffai fwy
O le i ymhyfhau wrth weled fod
Annuwiaeth a drygioni, a phob nwyd
A rhysedd pechadurus yn mwyhau,
Ac yn ymledu gyda chynnydd dyn.
Er hyny, ar bob adeg y gwnai Duw
Ymostwng i roi rhyw awgrymiad llon
O ddiysgogrwydd hen gyfammod gras,
A'i rad fwriadau i berffeithio'r oll,
Ail welwai Satan a dychwelai 'i fraw:
Ymholai ag ef ei hun pa beth i'w wneyd—
Cynhyrfai bob cynllwynig nwyd a gwŷn,
A dieflig gynneddf yn ei galon ddu,
Wrth chwilio am uffernol ddyfais fawr
I ddiogelu'i hunan ar un waith
A llwyr ddymchwelyd holl gynlluniau'r nef.
Ond cwbl ofer yr ymdrechai o hyd;

A phan fynychai Duw addewid hedd
I'r patrieirch un ac un, llym saethau braw
A llid dygasog a drywanai 'i fron;
Ac nid oedd ganddo ond ymsuddo'n ïs
I drobwll ei gynddaredd, gan wneyd llw
Uffernol, erchyll i 'msefydlu byth
Mewn gwrthwynebiad i fwriadau Duw.
Ond nan, holl amgylchiadau'r genedl oedd
Braidd fel y dymunasai iddynt fod.
Ac mor ymlonol oedd ei feddwl pan
Yn ymhyfrydu yn eu gwae a'u hing,
Nes ydoedd bron gobeithio trwy barhau
I chwyddo o hyd greuloni'r Aiphtiaid traws
I lwyr ddifodi Israel trwy ei frad,
A chladdu'n eigion dyfnaf uffern ddu
Bob coffadwriaeth am eu henw mwy.
Fel hyn gofrydai Satan, ond 'roedd cri
Wylofus Israel wedi cyrhaedd clyw
Y Duw tragwyddol sydd a'i lygaid ar
Ei etholedig trwy holl droion blin
Eu dyrus daith yn mhlith gelynion fyrdd;
A'r amser bennodasid gan yr Hwn
Nad yw yn hepian nac yn oedi dwyn
Ei ddoeth fwriadau oll i ben yn iawn,
Yn awr oedd wedi d'od, a chydag ef
'Roedd rhyw led-dywyn o ail obaith wan
Yn dechreu treiddio trwy'r tywyllwch tew,
Ac adgynhesu ambell galon oer
Yn mhlith y llu adfydus, a phan ddaeth
I oror Pithon, ar ryw nawngwaith teg,

Pan oedd minteioedd Israel yn dyheu
Am lon ddyfodiad y dawelfwyn nos
Pan gaffent eto 'chydig seibiant byr
I'w cyrph lluddedig, blin, y newydd fod
Mab Amram dduwiol—Aaron barabl fwyn,
Ar alwad Duw y tadau wedi cael
Ei wysio i'r anialwch, yno i gwrdd
A'r gwr bennodid gan Jehofah i fod
Yn Flaenor ac yn Llywydd iddynt hwy,
I roi ymwared ac ail ryddid llon
I'r bobl ormesedig, ac nad oedd
Y gŵr neb llai na Moses fawr ei hun,
Prysurai'r bobl mewn aiddgarwch brwd
I gynnulleidfa y blaenoriaid oedd
Ar gael ei chynnal yn y ddinas brudd
I wrando'r gennadwri a chael prawf
O wir fwriadau'r nefoedd ar eu rhan.
Yn nghongl y ddinas 'roedd adeilad gwych
Godasid trwy galedwaith Israel flin
I gadw drud drysorau'u meistriaid balch;
Ac ynddo hefyd 'r oedd swyddfaoedd erch
Eu cas dasgyddion, yn y rhai y caent
Yn fynych brofi eu creulondeb blwng:
O fewn rhagfuriau'r mawr drysordy hwn
'R oedd cyntedd eang, a chauadfrig goed—
Cypreswydd, palmwydd, ac almonwydd hardd—
Yn tyfu ynddo gan roi cysgod mwyn.
O'i flaen 'r oedd gwastadeddau ffrwythlawn, maith,
Y Nilus enwog, a'i chamlesydd mân,
Y rhai dan d'wyniad y tanbeidiol haul

Edrychent fel arianaidd rwydwaith, teg
Ar wyneb hardd y maes ; i'r lle hwn doi
Ar fynych dro yr Israeliaid trist
I gwyno ac wylo yn y llanerch gudd,
Ac yma yr ymgasglai'r dyrfa'n awr.
Blaenoriaid Israel ddoent o un i un :
Cyfarchent well i'w gilydd, gan ddweyd, hedd
Duw Abraham i chwi, a chyda hwy
Dylifai'r bobl o bob cwr i mewn,
A phawb yn dwys bryderu a oedd da
I'w ddysgwyl o'r amgylchiad newydd hwn.
Nan, gwelid Aaron yn dynesu'n mlaen
Gan arwain rhyw un tywysogaidd, hardd,
A dwysbrudd iawn yr olwg at y dorf.
Ymranai'r dyrfa i wneyd ffordd i'r ddau,
A chan ymsisial, Moses, Moses yw,
Cydunai pawb mewn adgyfarchiad llon
A moesymgrymiad i'r cennadwyr hyn.
Ar ol cydgyfarch a dymuno hedd,
Blaenoriaid Israel a ymgasglent oll
I'r canol, ac ymgiliai'r dyrfa'n ol :
Ymffurfient hwythau yn rheolaidd gylch
'N ol trefn eu cynnadleddau, gan wneyd lle
Eangwag i'r siaradwyr oddi fewn.
I'r lle agored hwn, y cyntaf un
I fyned ydoedd Aminadab ddoeth,
Mab Amram o lwyth Judah oedd efe :
Ei wallt a'i farf oedd wyn, a'i rychiog wedd
Wlychasid gan boeth ddagrau lawer awr:
A'i ddwylaw'n mhleth yn pwyso ar ei ffon,

Yr henwr dremiai'n fwynaidd ar y llu,
Ac a ddywedai mewn crynedig lais:—
O frodyr! meibion Israel! clywch! Daeth sôn
Melusfwyn am ymwared eto i'n clyw!
Yn fynych clywsom, fel y gwyddoch oll,
O'r blaen am waredigaeth, pan nad oedd
Y son yn ddim ond effaith breuddwyd hoff
Rhyw Israeliad blin, f'ai wedi dod
Wrth hir ddymuno a dysgwyl am ryddhad,
I gredu fod y fendith fawr ar bwys;
Fel gwr yn syllu ar ryw seren glaer,
Yn uchder pell y las ffurfafen glir,
Pan fyddo'r nos yn gwisgo'i thlysau aur,
Ac yna'n credu fod y gloyn cain
Yn araf nesu at ei lygad. Ond,
Os nad yw'm calon yn fy nhwyllo i,
Nid rhyw hudfreuddwyd ydyw'r newydd hwn,
Sy'n rhoi ail fywyd yn y fynwes fau,
Fod Duw y tadau wedi gwrando cri
Ei blant adfydus, a'i fod 'nawr yn dwyn
Ymwared iddynt trwy ei gadarn nerth.
Cynnygiaf fi gan hyny fod y gwyr
A anrhydeddwyd â'r gennadaeth hon
At luoedd Israel, 'nawr i roddi prawf
Ar goedd yr holl benaethiaid, fod ein Duw
Yn rhoi dadguddiad i ni trwyddynt hwy
O waredigaeth fuan a rhyddhad.
Ymgrymai'r Penaeth, ac ymgiliai'n ol
Yn nghanol cymm'radwyaeth. Ac ar hyn
Symmudai Aaron i'r annerchle gau

Ymgrymu'n barchus i'r henuriaid oll.
Am ennyd safai heb ynganu gair,
Tra'r oedd brwdfrydedd yn ymweithio trwy
Ei feddwl dewr, nes oedd ei lygaid claer
Fel yn serenu dan ei ddwyael llyfn.
Ffon bugail ddaliai ag un law, a'r llall
Estynai at y dorf; ond gormod oedd
Y teimlad dwfn ymgronai yn ei fron
I'r genau ateb i'r awgrymiad hwn:
Symmudai ei wefusau, ond heb sain:
Amneidiai eto, a doi deigryn mawr,
Gan chwyddo a thori ar ei boethgoch rudd
Yn bur, dryloew ar ol yr amnaid; ond
Ni ddoi un gair—ei dafod oedd, dan bwys
Hyawdledd calon yn gorlifo'r oll,
Yn gwbl fud, a'r dyrfa safai'n syn.
Fel pan fo cwmwl dudew, beichiog, trwm,
Sy'n chwyddo gan drydanol nerth o'i fewn,
Ar gael ei ddryllio gan y fellten wyllt,
A'i rwygo gan ruadau'r daran groch:
Mae natur yn yswatio gan ddyheu
A dal ei hanadl bob yn ail, mewn dwys
Ddysgwyliad am y ffrwydriad grymus—nan
Daw chwa y tro-wynt nes bo'r dail a'r llwch
Yn un gymmysgfa'n llanw'r awyr fwrn,
Ac yna bydd llonyddwch beichus, taw,
Am ennyd yn dirwasgu'r egwan fyd,
Fel hunllef boenus—pob creadur fydd
Yn agor safn i gipio'i anadl gaeth,
Ac aden y gwybedyn fydd yn faich:

Gorwedda anian ar y llawr yn wyw,
Ac fel yn marw, nes yn drymaidd daw
Y dyferynau llydain, mawrion, swrth ;
Ac ar darawiad dyna'r echrys follt,
A'r daran drystfawr yn dirgrynu'r llawr ;
Fel yna y dysgwyliai'r dyrfa am
Ffrydlif hyawdledd Aaron, a phan ddaeth
Y dagrau gloewon o gostrelau'i fron,
Ymwared gadd o wasgfa'i deimlad llawn,
A ffrydiodd allan y llifeiriant mawr,
Nes oedd y dyrfa fel yr helyg ïr
Yn plygu dan ei nerth. Dywedai ef,
"Anwylaf hil urddasol Israel fwyn,
A chyfathrachwyr Joseph, llyw yr Aipht !
Maddeuwch im' y gwendid tyner hwn :
Rhyw ddieithr deimlad ferwa'r fynwes fau,
Wrth wneyd yn hysbys i chwi ryfedd ras
Jehofah—dyna enw'r Arglwydd Dduw—
Ar ran ei druain bobl. Gwyddoch chwi
Y modd gwaredwyd Moses pan oedd teyrn
Gormesol ein gorthrymwyr wedi rhoi
Ei fryd uffernol ar ddyfetha'n llwyr
Ein cenedl." Pan ddywedodd hyn, y dorf
Frawychus, lwfr, ni allai ddal yn hwy—
Mewn ofn a phryder gwaeddent, Gochel ! taw !
O Aaron fwyn ! fe'n cosbir ni yn drwm !
Hwy glywant am dy eiriau ! Gwared ni !
Efe ni syflai—codai 'i law yn hyf,
Gan amnaid am dawelwch, ac âi 'mlaen—
"Nac ofnwch ddim—mae'n hysbys i chwi fod

Pob Aiphtiwr ar yr adeg hyn o'r dydd
Yn ddigon pell o'r lanerch ddystaw hon;
Can's yn yr hwyr ceir yma ganiattad
I'r 'chydig frodyr sydd yn dal yn bur—
O mor ychydig ynt!—i roddi'n fwyn
Eu dwys addoliad i'r Jehofah Dduw;
A chlywed hyn sy'n gas i'r Aiphtiaid traws.
Ond os oes yma rai o honynt hwy,
Boed hysbys iddynt nad oes arnom fraw,
I lawn gyhoeddi cennadwri'r nef.
Gwaredwyd Moses gan ragluniaeth Ior,
A merch y brenin—parch i'w henw hi!
A fu'n amddiffyn iddo rhag pob cam.
Cynnyddodd mewn dysgeidiaeth ac mewn bri,
Ac aeth yn fawr, nes y rhyfeddai pawb.
Dysgwylid llawer gan ei frodyr caeth
Wrth un mewn llawn anrhydedd fel efe—
Yn meddu gallu yn llys Pharaoh ei hun,
Ac yn ddysgedig yn nirgelion dwfn
Yr offeiriadaeth rwysgfawr, ac er hyn,
Yr un hoff dybid oedd yn dal mewn cof
Ei genedl dlawd ei hun:—Aneirif oedd
Y lluniau dynid gan ddychymmyg llon,
Ar leni dadblygedig purlan serch,
O'r hawddfyd dedwydd a fwynhaem pan ddoi
Effeithiau ei ddylanwad llesol ef
Ar lys y brenin i weithrediad llawn—
Yr Israeliad caeth anghofiai'r dasg
Mewn clai a phriddfaen, ac mewn dyfrllyd ffos,
I ddedwydd feddwl am ei winwydd ir,

